# BRITISH HERBAL,

NEU

# LYSIEULYFR *BRYTANAIDD*,

## YN DAIR RHAN,

YN CYNWYS AMRYW O

**GYNGHORION TEULUAIDD,**

YNGHYD A

HYFFORDDIADAU MEDDYGINIAETHOL,

WEDI EU CASGLU O WAITH

**N. CULPEPPER,**

AC ERAILL.

Y mae y rhan fwyaf o honynt wedi eu profi yn rhinweddol ac effeithiol i symud yr amrywiol ddoluriau ag y mae ein cyrff llygredig yn agored iddynt.

---

GAN D. T. JONES.

---

**LLANRWST,**

ARGRAFFWYD GAN JOHN JONES, DROS W. JONES, LLYFRWERTHYDD.

**Pris swllt.**

# BRITISH HERBAL,

NEU

# LYSIEULYFR BRYTANAIDD,

## Y rhan Gyntaf

YN CYNWYS

## 90 O GYNGHORION TEULUAIDD,

**HAWDD I'W CAEL,**

WEDI EU CASGLU O WAITH

## N. CULPEPPER,

AC EREILL.

Y MAE'R RHAN FWYAF O'R CYNGHORION WEDI EU PROFI YN RHINWEDDOL AC EFFEITHIOL I SYMUD YR AMRYWIOL DDOLURIAU AG Y MAE EIN CYRFF LLYGREDIG YN DDAROSTYNGEDIG IDDYNT: AC Y MAENT YN HOLLOL I'W DEFNYDDIO O DDAIL A LLYSIAU EIN GWLAD EIN HUNAIN.

HEFYD CYFARWYDDYD I OLLWNG GWAED, AC I GYMRYD PURGE.

---

GAN D. T. JONES.

---

Y TRYDYDD ARGRAFFIAD.

---

Llanrwst:

ARGRAFFWYD AC AR WERTH GAN J. JONES.

## AT Y DARLLENYDDION.

YCHYDIG Phisygwriaeth deuluaidd, wedi eu defnyddio o ddail ein gerddi, ac amrywiol lysiau gwylltion y maesydd, fel ag y gallo pob dyn nad allo ond darllen Cymraeg yn unig, fod yn Physygwr iddo ei hun. Trwy fanwl chwilo y llyfr bychan hwn, gellwch gael cyfarwyddyd i symud ac i wellhau y rhan fwyaf o'r amrywiol ddoluriau ag y mae ein cyrph gwael yn ddarostyngedig iddynt.

Fe welodd yr Holl-wybodol a'r Galluog Dduw, o'i hunan-gynhyrfiol drugaredd a daioni iddyn pechadurus,fod yn dda i blanu Balm y Feddyginiaeth yn ein gerddi, ac o flaen ein drysau; ac o ddeutu ein llwybr-au, fel ag y gallom ninau, gyda chalon

lawn o ddiolchgarwch, estyn allan ein dwylaw, a chymeryd yn feunyddiol o Falm y Feddyginiaeth mewn dydd o boen a gorthrymder corphorol.

Nid ydwyf ddim am eich gyru yn bresenol i'r India nac America i ymofyn meddyginiaeth, ond am droi eich wynebau i'ch gerddi a'ch maesydd eich hunain.

Y mae y Creawdwr mawr yn ei ddoeth drefn ei hun, wedi rhoddi amrywiol ddail a llysiau cyfaddas yn mhob gwlad tu ag at feddyginiaethu ei thrigolion: ond y bai sydd arnom ein hunain am nad ydym yn eu deall. Trwm ydyw gweled dynion yn eu sathru dan draed fel pethau o ddim gwerth, er ei fod yn sicr y gallai un llysieuyn, ond ei iawn ddefnyddio, fod yn fwy ei werth i'r clwyfus nâ holl drysorau yr India. Am hyny da fyddai i ddynion ymdrechu llawer mwy am adnabod eu rhinwedd a'u heffaith yn fwy manwl.

*Ychydig gyfarwyddyd i ollwng gwaed, a'r amser mwyaf cyfaddas i fod yn ddiberygl.*

PAN ddechreuwyd y gelfyddyd o waedu, mae yn ddiddadl ei bod o ddyben da, i symud ymaith ac i wrtawynebu llawer o ddoluriau; ac fe all eto ateb yr un dyben trwy ei iawn ddefnyddio yn ddeallus, ac nid yn fyrbwyll. 1, Y mae gwaedu ar y fraich chwith yn rhagorol o dda rhag dolur yn y pen; ac y mae hefyd yn dda yn yr un modd i'r rhai sydd wedi cael codymau. —Y mae rhai dysgedigion yn dal allan fod gwaedu yn hollawl feddyginiaeth i un-ar-hugain o ddoluriau, heb gynnorthwy un math o phisygwriaeth; ond y mae yn dda i lawer yn ychwaneg trwy gasglu phisygwriaeth i gyd-weithio âg ef.

Pan y byddo y lleuad ar ei chynydd, gallwch waedu yr amser a fynoch, y dydd a'r nôs; ond pan y byddo y lleuad ar gilio, nis gallwch waedu ond yn y bore yn unig. Gwaedu a ellir ei arferyd yn esmwyth o fis Mawrth hyd Dachwedd; ac na waedwch

ddim o Ragfyr hyd ddiwedd Chwefror, os gallwch beidio. Misoedd Mawrth ac Ebrill, a Thachwedd, ydyw y tri goreu yn y flwyddyn i ollwng gwaed; ond fe ellir ei wneud yn ddiberygl o'r nawfed o Fawrth hyd y pedwerydd ar bymtheg o Dachwedd; —ond i ochelyd y perygl, peidied neb a *mentro* i agoryd gwythïen ond y rhai a fyddant yn hyddysg ar y gwaith.

Y mae tri math o bobl na ddylent ollwng gwaed ar neb; yn 1, y mae rhai sydd annealladwy, ac heb fod yn hyddysg ar y gwaith, ond eu bod yn pretendio yn unig; yn 2, y rhai sydd â golwg drwg ganddynt; ac yn 3, y rhai sydd â dwylaw crynedig ganddynt. Ac yn olaf, na adewch i ferched waedu arnoch; na neb âg arfau rhydlyd. Ond hyn a ddywedaf wrthych cyn dibenu, os ewch at ddyn deallus, fe ŵyr pa wythïen sydd i'w hagor at bob dolur; ac fe ŵyr hefyd pa faint o waed i'w ollwng wrth edrych ar y clwyfau.

# HERBAL, &c.

---

*Cyngor rhag y Darfodedigaeth,* (Consumption) *os cymerir mewn pryd.*

CYMERWCH lonaid llaw o horownd, a haner hyny o riw'r gerddi, mewn dau chwart o ddwfr, a dau bwys o siwgr coch ynddo; a'u berwi yn nghyd nes wastio'r haner, a phottelwch; cymerwch o hono dair llonaid llwy fwrdd bob bore ar eich cythlwng.

---

*Rhag y Cryd.*

Cymerwch gamomile, a llysiau'r dryw, a chribau Sant Ffraid, a dail neu wraidd carn yr ebol, a gwraidd Eringo, neu gelyn y môr, a hops, yr un faint o bob un, a berwch hwynt oll mewn dwfr, a rhoddwch ynddo ddigon o driagl, ac yfwch o hono pan fyddoch yn gynhes yn y gwely; a chwyswch ddwy awr ar ei ol.

---

*I gryfhau'r Ystumog.*

Cymerwch peppermint, a chribau Sant Ffraid, a currans y gôg, yr un faint o bob un, a'u berwi yn nghyd mewn dwfr, a rhoddwch ynddo ychydig siwgr, neu ryw beth melus, ac yfwch o hono wrth eich rheswm.

*Rhag brathiad Ci cynddeiriog a Nadrodd.*

Cymerwch fôm, a gwraidd cacamwcci, a mintys a hâd neu wraidd Alexander, a chribau Sant ffraid ac ysgaw Mai, a dail llyriaid, a rhiw'r gerddi cymerwch yr un faint o bob un, a berwch hwy mewn gwîn gwyn, yfwch y gwîn, a rhoddwch y dail yn allanol ar y lle.

---

*Rhag poeri Gwaed.*

Cymerwch gribau Sant ffraid, a dail mieri, rhoses cochion, a dail tafol cochion, yr un faint bob un, a'u berwi yn nghyd mewn gwîn coch; (neb na allo gael gwin, rhaid iddo gymeryd dwfr) meluswch â siwgr gwyn, ac yfwch yn fynych hono, ac iach a fyddwch.

---

*Rhag piso Gwaed.*

Cymerwch cwmphri a dail llyriaid, a smallage at yr un faint; a berwch yn nghyd, a rhoddwch ynddo haner pwys o siwgr gwyn i bob peint, a yfwch o hono, ac iach a fyddwch.

---

*Rhag y Pâs ar Blant.*

Cymerwch ddail rhoccos, a theim y gerddi, theim gwyllt, berwch hwy yn nghyd, a meluswch â siwgr candi, a gadewch i'r plentyn yfed yn helaeth o hono.

*Rhag y Consumsiwn, mewn hen ac ieuangc.*

Cymerwch wraidd cacamwcci, a gwr aidd dainty llew, a gwraidd carn yr ebol, a horownd, juniper-berries, a resins yr haul, a berwch oll yn nghyd, a rhoddwch ynddo yn bur helaeth o siwgr coch, a berwch dros hir amser ar dân araf mewn llestr cauedig; cymerwch lonaid cwpan dê o hono yn dwymn dair gwaith yn y dydd.

---

*Rhag ffitiau Confulsiwn.*

Cymerwch gribau Sant ffraid, pennyroyal, a dail y gwinwydd, at yr un faint o bob un, a berwch hwy mewn gwin a dwfr, ac yfwch o hono yn fynych, a byddwch iach.

---

*Rhag y Peswch.*

Cymerwch bay leaves, cribau Sant Ffraid, a gwraidd neu flodau carn yr ebol, a hâd cywarch, ac isop, a dail tafod y ci, neu ddail tafol, a juniper-berries, a gwallt y forwyn, a gwraidd rhoccos, a dail clust y llygoden, a mwstard gwyllt, rhosmari, a saits; berwch at yr un faint o bob un, a'r rhai fydd gyfoethog gallant yn llwyddianus eu berwi mewn gwin, ond y mae yn debyg y bydd raid i'r tylodion eu berwi mewn dwfr, a'u melysu â mêl neu siwgr coch. Nid yw ond ofer rhoddi cyfarwyddyd i'w gymeryd, yr ydwyf yn disgwyl y gwna eich deall naturiol eich cyfarwyddo, fel ag y byddo y clwyf yn gofyn, a'ch nerth chwithau yn cynnal.

*Rhag llosg tân.*

Cymerwch beint o olew traed defaid, a phedair wns o read lead, ac un wns o gŵyr melyn; berwch ynghyd am dair awr, ar dân araf, gan ei droi, ac yna rhoddwch ato yn niwedd y berwi, haner wns o oil of elder, neu ysgaw, a gadewch iddo oeri, a thrwsiwch y dolur âg ef unwaith yn y dydd.

---

*Un arall at yr un achos.*

Cymerwch ychydig lapis powdr, neu brown dust, (gellwch ei gael yn siop y Druggist), a chymysgwch mewn dwfr eira; gellwch wneuthur digon yn y gauaf i barhau drwy'r flwyddyn; a chedwch at eich angen: mae yn diffodd y tân, ac yn iachau y dolur.

---

*Un arall.*

Cymerwch linseed oil, a melyn ŵy, a siwgr coch, ac ychydig ddwfr, a chymysgwch yn dda hyd nes tewycho, a chymysgwch bob tro wrth ei arferyd.

---

*Un arall.*

Cymerwch spirit of wine, a champhor, a spirit of turpentine, ac oil of St. John, yr un faint o bob un ag eneiniwch y lle âg ef. Profwch ei fod yn dda i ddiffoddd tân.

---

*Y ffordd i wneuthur Dwfr Llygaid.*

Cymerwch haner peint o frandy, a dau beint o

ddwfr ffynon oer, ac un wns o sugar of lead; a chymysgwch ynghyd, a photelwch at eich achos.

---

*Un arall.*

Cymerwch sug celandine, a llygad y dydd, a dail llyriad, a llysiau'r esgyrn, a chymerwch yr un faint o bob un, a rhoddwch ynddo ychydig fêl, a rhoddwch o hono yn eich llygaid fel y byddo yr angen yn gofyn.

---

*I atal gwaed mewn briwiau.*

Cymerwch ledr wedi ei losgi a'i wneud yn bowdwr, a bole amoniac, a dragon's blood, a chymysgwch ychydig spirit of wine gyda hwynt. Profwyd hwn i fod yn effeithiol.

---

*Rhag dolur mewn Cég.*

Cymerwch bowdwr gẁn, ac alm, a bole amoniac, a mêl, yr un faint o bob un, a rhwbiwch y gums neu gig eich danedd â hwynt, ac na lyncwch y poer, ond gadewch iddo redeg allan.

---

*Rhag y Dropsy.*

Cymerwch y rhisg melyn oddiar goeden ysgaw, a bay leaves, a chribau Sant Ffraid, a chamomile, a moron gwylltion, a celandine, a rhisg ysgaw Mai, a'u cymeryd yr un modd a'r lleill; a gwraidd eringo, neu fôr-gelyn, a juniper-berries, a phersly, a paladr y wàl, a dail llyriaid, a gwraidd dail tafol llydain,

a smallage. Pob un sydd yn meddwl fod y Dropsy yn dechreu arnynt, y mae yn werth eu trafferth i ferwi yn fanwl y dail hyn ynghyd mewn llestr cauedig, am hir amser, ar dân araf, ac wrth eu potelu rhoddwch ddwy wns o fêl at bob peint, ac yfwch o hono yn fynych; ond yn enwedig yn y boreu ar eich cythlwng.

---

*I stoppio y Terms, sef y Misglwyf, fel y canlyn.*

Cymerwch ddail beets cochion, a dail mieri, a dail cwmphrey, ac o'r dail a elwir haner lleuad, neu Moon wort, ac o lysiau'r gwaedlif, ac o'r dansi gwyllt, ac o'r rosus cochion, at yr un faint o bob un, a'u berwi mewn gwin coch, os gellwch ei gael, (y rhai na allant gael gwin coch, berwch mewn dwfr), a rhoddwch haner pwys o siwgr gwyn at bob chwart, ac yfwch yn fynych o hono wrth angen, a hyn, gyda chymorth Duw, a'ch gwna yn gwbl iach.

---

*Un arall i'r un dyben.*

Cesglwch y dansi gwyllt yn leision, os gellwch eu cael, a gwisgwch o dan wadnau eich traed, nesaf i'ch croen yn eich esgidiau, a hyn sydd yn anffaeledig.

Mae y cyngor hwn yn fwy ei werth na phris y llyfr i gyd.

---

*Un arall i'r un dyben.*

Cymerwch rosus cochion a chwedi eu cynhauafu, powdrwch, a rhoddwch trwy ogr, a chymerwch o hono ddwy lonaid llwy dea ar lasiaid o win coch, yr hyn sydd anffaeledig.

*Cyngor i Blant wedi tori eu Lleingig*

Cymerwch Solomon seal, a chribau Sant Ffraid, a dail mieri, a'r dansi gwyllt; cesglwch yr un faint o bob un, a berwch mewn dwfr, a rhoddwch ynddo siwgr gwyn, ac yfwch yn helaeth o hono yn dwymn, a rhoddwch y dail yn blastr o'r tu allan am naw niwrnod.

---

*Rhag y Cangcr.*

Cymerwch agrimoni, sef llysiau y Dryw, ac yfwch y dail yn lle tea, ac amserau eraill hefyd, a rhoddwch yn blastr ar y dolur; a'i newid bob yn ail diwrnod, hyd nes y byddoch iach.

---

*I gryfhau y Golwg.*

Cymerwch y dorfagl, ac yfwch yn lle tea yn fynych, a rhoddwch y sug yn y llygaid, a hyn a wna y tro i'r hen bobl yn lle prynu gwydrau.

---

*Rhag ysgafnder mewn Pen.*

Cymerwch lonaid llaw o fôm, ac yr un faint o lysiau'r ychain, ac o gribau Sant Ffraid, ac o lysiau'r fam, ac o rosus cochion, a'u berwi oll ynghyd, a'u hyfed fel diod gyffredin yn dwymn, ac yn fynych.

---

*Rhag y Colic.*

Cymerwch lysiau'r angel, a chamomile, a gwraidd rhedyn y dwfr, a haner yr un faint o riw y gerddi, a berwch mewn gwin gwyn, neu frandy, ac yfwch

lasiaid o hono yn y ffit, neu berwch mewn dwfr, a chymerwch mewn gwin gwyn neu frandy, ac ail gymerwch os na thyr y tro cyntaf.

---

*Rhag dolur mewn Pen.*

Cymerwch rosmari, a churwch mewn morter, a rhoddwch mewn teapot, neu lestr cauedig arall, yn ochr y tân, am wythnos, a gwin gwyn arnynt, ac wedi i chwi wneuthur hyny, rhoddwch ferw arnynt, straeniwch a phottelwch, a chymerwch o hono lonaid llwy fwrdd nôs a bore; ond llai i blant, fel ag y byddo eu hoed. Ond cofiwch beidio a gadael iddo wastio yn agos i'r tân.

---

*Rhag i blant biso yn eu gwelyau.*

Rhoddwch iddynt lonaid llwy fwrdd o sug llysiau'r gwaedlif, gwedi ei felysu â siwgr gwyn, bob nôs hyd nes y peidiont.

---

*Rhag y Llyngyr.*

Cymerwch gribau St. Ffraid, a gwraidd rhedyn, a wermod lwyd, a chwerwlys yr eithin, a bayleaves, llysiau'r fam, a surans y cŵn, teim gwyllt, a theim y gerddi, a'r ferfain, a berwch at yr un faint o bob un, a haner yr un faint o riw'r gerddi mewn dwfr, a'i wneud yn gryf, ac yfwch o hono haner peint bob bore; os i blant, gwnewch yn wanach, a rhoddwch lai o hono.

---

*Rhag Crygni.*

Cymerwch flodau carn yr ebol, neu eu gwraidd,

ac isop, a licrice powder, o siop y Druggist, a mwstard gwyllt y cloddiau, a hâd danadl poethion, a'u cyd-ferwi, at yr un faint o bob un, ac yn niwedd y berwi, rhoddwch bedair wns o fêl, a dwy wns o siwgr candi at bob chwart; a photelwch, ac yna yfwch lonaid cwpan dea o hono hwyr a bore; a byddwch iach.

---

*Un arall rhag gwichian a chrygni mewn gwddf trwy ddiffyg anadl.*

Cymerwch hâd ffenigl wedi eu powdro a'u cymysgu mewn mêl, a chymerwch o hono lonaid llwy dea dair gwaith yn y dydd.

---

*Diod i iachau briwiau.*

Cymerwch o eiddew y ddaear, sef llysiau'r esgyrn, ac o gribau St. Ffraid, a gwraidd dail tafol cochion, a'r bengaled, a'r gantwll, a berwch yn nghyd mewn diod fain, a rhoddwch furum ato, ac yfwch o hono haner peint yn dwymn, nôs a bore, ac iach a fyddwch.

---

*Rhag y Clwyf Melyn.*

Cymerwch surans y cwn, a llysiau yr ychain, a gwraidd banadl, a chelandine, a gwraidd ysgall bendigaid, a gwraidd ffenigl, hops, a horound, llonaid llaw o bob un, a berwch mewn pedwar chwart o ddwfr, nes yr elo yn dri chwart, a rhoddwch ynddo bwys o driagl; ac yfwch o hono haner peint yn dwymn yn gyntaf peth yn y bore, ac yn ail yn y nôs.

*Un arall at yr un achos.*

Cymerwch y wermod lwyd, y wermod wen, a Salomon seal, a'r valerian, a surens y gôg, a'r pren melyn, a chribau St. Fraid; cesglwch at yr un faint o bob un, a naddwch y pren melyn yn ysglodion mân, yr un faint ag o'r lleill; a'u rhoddi yngwlych dros nôs mewn pedwar chwart o hen gwrw; ac yn y bore berwch ar dân araf, hyd nes iddo leihau un chwart; ac yn niwedd y berwi, rhoddwch ynddo haner owns o saffrwn, berwch drachefn am bum' munud, a thynwch i lawr wedi ei gau yn glòs, a phan yr oero, ystraeniwch a phottelwch, a chymerwch o hono lonaid llwy yn dwymn.

---

*Rhag Piso Gwaed.*

Cymerwch lysiau'r dryw, a dail llwyn hidl, teim y gerddi, teim gwyllt, a dail rhosus cochion; llonaid llaw o bob un, a berwch hwynt mewn peint o ddwfr, nes iddo leihau un peint, a rhoddwch ynddo haner pwys o siwgr gwyn, ac yfwch o hono haner peint hwyr a bore yn dwymn.

---

*Rhag y Ddannodd.*

Cymerwch lysiau'r angel, a bôm, a dail mieri, yr un faint o bob un, yn leision, a gwasgwch eu sug, a rhoddwch yn nhwll y daint, yna iach a fydd.

---

*Un arall i'r un achos.*

Cesglwch deim gwyllt, a theim y gerddi, gwasgwch eu sug, a hyn a'i hesmwythâ; ond y cyngor goreu yw tynu y dant, os bydd yn llygru, rhag iddo lygru un arall a fyddo yn nesaf ato.

*I attal Cyfog, ac i gryfhau'r Ystumog.*

Cymerwch ddail llyriaid, dail llwyn hidl, mintys, bôm, cribau St. Ffraid, dail rhosus cochion, dail derw, brenhines y weirglodd, a rhosmari; cesglwch lonaid llaw o bob un, a berwch ynghyd mewn pedwar chwart o ddwfr, nes elo yn dri chwart, ac yfwch o hono lonaid cwpan dea dair gwaith yn y dydd.

---

*I wellhau yr Ysplin.*

Cymerwch wraidd march alarch, a dail chamomile, a gwraidd *eringo,* sef celyn y môr, a gwraidd rhedyn y dwfr; Cymerwch haner pwys o'r tri cyntaf, a chwarter pwys o wraidd rhedyn, mewn pedwar chwart o ddwfr, a berwch nes iddo leihau yr haner; ac yn niwedd y berw rhoddwch ynddo beint o wîn gwyn, a phwys o siwgr coch, ac yfwch o hono lonaid cwpan dea, nôs a bore, yn dwymn.

---

*I ostwng Chwydd yn y Corph.*

Cymerwch ferw y dwfr, a lercitus, a danadl, a camomile, a dail llyriaid, y wermod, yr un faint o bob un, ond y danadl a'r wermod, a haner yr un faint o'r ddau olaf; berwch mewn diod fain, a rhoddwch ynddo fêl, ac yfwch o hono yn dwymn wrth eich angen a'ch deall.

---

*I ostwng Chwydd allanol.*

Cymerwch ddail ysgaw, a dail gwywydd, a llysiau y feddyges, llonaid llaw o bob un, a berwch mewn brecci melus, a thewychwch ef â blawd

brâg, a blawd rhyg, yr un faint o bob un, a rhoddwch fêl ynddo, a gwnewch yn ystwyth â saim gŵydd, oil, neu floneg, a rhoddwch yn blastr ar y lle.

---

*Diod rhag y Scurvy.*

Cymerwch ferw'r dwfr, a juniper, a dail scurvy, a gwraidd dail tafol cochion, a'u berwi ynghyd, yr un faïnt o bob un, nes y byddont yn ddiod gref iawn, a gwnewch yn lled siarp â cream of tartar, ac yfwch o hono yn helaeth nôs a bore.

---

*Cyngor i Ferched pan fyddo eu Terms wedi stopio.*

Cymerwch lysiau'r dryw, a llysiau'r esgyrn, a dail Alexander, a bôm, a chribau St. Ffraid a bay-leaves a moron gwylltion, a berw'r dwfr, a gwraidd *eringo*, sef celyn y môr, a horound, a hâd dail poethion, a juniper, a llysiau Evan, y ferfain, a palat y wal, a lercytus, a sage, a dail gwywydd, a wermod, a rhiw y gerddi, a phenniw; cesglwch lonaid llaw o bob un ond y rhiw a'r phenniw, haner llond llaw o'r rhai hyny; cewch y juniper yn siop y Druggist, rhoddwch bedair owns o honynt gyda'r dail a enwyd, a berwch mewn galwyn a haner o ddwfr ar dân araf, a chauad clos ar ei wyneb hyd nes iddo leihau i un galwyn, a rhoddwch, wedi y berwoch, ynddo beint o fêl, ac yfwch o hono haner peint nôs a bore yn dwymn.

---

*Rhag Dolur y Gareg a phoen yn y cefn.*

Cymerwch bey leaves, a blodau danadl, a dail llyriaid, a cacamwcci, a camomile, a moron gwyllt-

ion, a dail cherries, a berw'r dwfr, ac ychydig hâd mwstard, wedi eu sigo, a chlust y llygoden, a hâd danadl poethion, a phalat y wàl, a rubob, a gwraidd dail tafol, a surens y gôg, a smallage; cesglwch yr un faint o'r dail hyn oll, a rhoddwch ynddo ychydig hâd llîn, a rhoddwch ynddo dwysgen o fêl, ac yfwch yn fynych o hono. Da fyddai i bawb sydd a'r grafel arnynt yfed o'r ddiod hon.

---

*Cyngor i Wragedd rhag Misgario.*

Cymerwch sage, a dansi gwyllt, yr un faint o bob un, a chnociwch a gwasgwch allan eu sug a chymerwch lonaid llwy fwrdd o hono yn lled fynych.

---

*Rhag Dolur mewn Bol.*

Cymerwch gamomile, a dansi gwyllt, a moron gwylltion, a berwch ynghyd, a chymerwch ddracht helaeth o hono yn boeth, ac yn fynych.

---

*Rhag y Polsi.*

Cymerwch gribau Sant Ffraid, a bey leaves, a sage, a dail briallu, cesglwch yr un faint o bob un, ar ôl eu cynhauafa a'u powdro, cymysgwch eu powdr yn dew mewn mêl, a chymerwch o hono lonaid llwy dea ddwy waith yn y dydd.

---

*Un arall at yr un achos yn allanol.*

Cymerwch rosmari, a sage, a lavender, a bay leaves, a smallage, a camomile, a rhiw'r gerddi, a

mintys, a wermod, a chribau Sant Ffraid, a lercitus, a'r gantwll; cesglwch lonaid llaw o bob un, a berwch mewn dwfr, a golchwch yr aelodau clwyfus â'r dwfr mor boeth ag y gellir ei ddyoddef, a gorwedd mewn plangcedi ar ei ôl bob nôs.

---

*Rhag y Peils.*

Cymerwch ddail mieri, a dail cwmphri, a dail triagl y moch, (termentil) a dail poethion, a palat y wàl, cesglwch lonaid llaw o bob un, a berwch mewn pedwar chwart o ddwfr ar dân araf, ac yfwch haner peint o hono hwyr a bore, a byddwch iach.

---

*Eli i iachau y Peils.*

Cymerwch ddail llygaid y dydd, a llygaid Ebrill neu ddail peils, nid rhaid i chwi ond codi eu gwraidd, cewch weled dull y peils arnynt, ac yna cymerwch eu gwraidd, a'r un faint o lygaid y dydd, a churwch ynghyd, a berwch mewn bloneg hyd nes b'ont yn crimpio, ac yna straeniwch ac irwch rhag y peils âg ef.

---

*Rhag y Melancoli.*

Cymerwch fôm (balm,) a llysiau'r fam a llysiau'r ychen, at yr un faint o bob un, a berwch yn nghyd mewn dwfr a gwin gwyn, ac yfwch fel diod gyffredin; neu bowdrwch y dail a chymysgwch mewn mêl, a chymerwch ar lwy dê amrywiol weithiau yn y

dydd; neu cymerwch un dram o'u powdr ar wîn gwyn ddwy waith yn y dydd, a dyma'r ffordd oreu yn ol fy marn i.

---

### *I gryfhau y Cöf.*

Cymerwch y dorfagl, a gwraidd yr ysgall bendigaid, a Juniperberries, a lili'r dwfr, a chasglwch yn nghyd, yr un faint o bob un, a berwch ar dân araf, a gwnewch hwynt fel diod fain, ac yfwch wrth eich syched.

---

### *I ychwanegu Llaeth.*

Cymerwch lysiau'r ychen, a ffenigl a dail y rhoccos, yr un faint o bob un, a berwch mewn llefrith; ac yfwch fel y b'o yn angenrheidiol.

---

### R*hag ffitiau, neu wynt y fam.*

Cymerwch arac, sef llysiau'r fam wyllt, neu droed yr ŵydd, a llysiau'r fam ddof o bob rhyw, a moron gwylltion a phalat y wal, cesglwch at yr un faint o honynt oll, rhoddwch ddwfr berwedig arnynt mewn llestr cauedig, a chedwch mewn gwres ac yfwch o hono wrth eich angen.

---

### *Cyngor i wellhau y Manwynau.*

Cymerwch wraidd March-alarch, a churwch yn nghyd â halen ac ychydig finegr, a rhoddwch ar y dolur cyn iddo dori, ac fe'i gwellhâ yn fuan.

*Un arall.*

Cymerwch ddail bysedd cochion, a churwch, a a berwch mewn dwfr, a gwnewch bowltis, gydâ blawd ceirch, a daliwch wrtho hyd nes y toro, ac ar ol iddo dori efe a'i sugna, ac a'i sycha, ac a'i croenia yn gwbl iach.

---

*Un arall.*

Cymerwch lysiau Evan, a gwraidd eringo, neu gelyn y môr, a'u curo yn nghyd â bloneg, a'i newid unwaith yn y dydd.

---

*Rhag yr Igian.*

Cymerwch wraidd neu hâd ffenigl, a dail mintys, a'u berwi ynghyd mewn dwfr, ac yfed o hono yn dwymn.

---

*I iachau y* Pox.

Cymerwch wraidd celyn y môr, a sage gwylltion, a hops; o gelyn y môr, tri pwys, ac un o sage, a chwarter pwys o hops, a'u berwi mewn pum' chwart o ddwfr, nes eu lleihau i bedwar chwart, a'u hidlo, a rhoddi ynddo bwys o driagl, a'i weithio â burum, a'i yfed fel diod gyffredin, ond rhaid da ato am hîr amser.

---

*Cyngor i rai sydd a'u gwynt yn drewi.*

Cymerwch fintys, a rosmari, a berwch ynghyd, a golchwch eich genau âg ef bob bore.

*Un arall.*

Cymerwch hâd smallage, wedi eu powdro, a'u cymeryd mewn mêl, neu eu berwi mewn dwfr, a'u hyfed yn fynych.

---

*Un arall i wellhau gwynt a f'o'n drewi trwy'r Canger.*

Cymerwch sug surans y gôg, a mêl, a golchwch eich genau â hwynt yn fynych.

---

*Cyngor i wellhau y Frech goch.*

Cymerwch wraidd triagl y môch, (tormentile) a berwch ddau bwys o honynt, wedi eu glanhau mewn tri pheint o ddwfr, nes elo yn chwart, a rhoddwch ynddo haner pwys o driagl, ac yfwch o hono yn gynes lonaid cwppan dea, dair gwaith yn y dydd, a hyn a'i teifl allan yn brysur ac a iachâ'r galon.

---

*Rhag y Frech Wen.*

Cymerwch haner owns o flodau gold mair, a haner owns o saphrwm, a rhoddwch arnynt ddau chwart o ddwfr berwedig mewn llestr cauedig, a'i gadw ynghwr y tân, a rhoddwch ynddo haner pwys o fêl, ac os i blentyn y bydd, rhoddwch iddo lonaid llwy fwrdd yn lled fynych; ac os i un yn ei oed a'i nerth, geill ei gymeryd yn helaethach.

---

*Cyngor i rai trwm eu clywed.*

Cymerwch sug llysiau'r angel, a thywalltwch ychydig o hono i'ch clustiau bob nôs, a rhoddi gwlân ynddynt, a chadw cynesrwydd.

*Un arall.*

Cymerwch o sug savory, ac oil of roses, a'u cymysgu ynghyd, yr un faint o bob un, a'u rhoddi yn dwymn yn y clustiau bob nôs, a chadw cynesrwydd; a hyn a dỳr y sŵn yn y pen.

---

*Un arall i'r un dyben.*

Cymerwch o sug ysgaw Mai, a sug celyn y môr, yr un faint o bob un, a dyferwch i'r clustiau, a chadw cynesrwydd.

---

*I iachau y Bysen mewn Llygad.*

Cymerwch o sug llysiau'r angel, ac ysgaw Mai, a calendine, a'r dorfagl, yr un faint o bob un, a'u cymysgu ynghyd âg ychydig fêl, ac ychydig laeth bron, a'i ddyferu i'r llygaid yn fynych.

---

*I wellau y* Polsi *sydd yn gwneud i'r dwylaw grynu.*

Cymerwch flodau ysgaw Mai, a'u distilio yn mis Mai, a golchi'r dwylaw âg ef nos a bore, hyn a'u gwellâ, ac a gryfhâ'r gewynau.

---

*Rhag y Gout.*

Cymerwch ddail llygaid y dydd, a chribau St. Ffraid, a bôm, a chrafangc yr arth, a berwch oll mewn dwfr, a golchwch y chwydd â hwynt yn fynych. Neu cymerwch ddail llygaid y dydd, a berwch mewn bloneg nes y byddo'r dail wedi crimpio, ac yna ystraeniwch trwy liain, ac irwch y Gout â'r enaint.

*I chwalu gwynt o'r Ystumog neu'r cylla.*

Cymerwch rosemari wedi eu powdro, a'u rhoddi trwy ogr, a chymerwch haner dram o honynt nos a bore, ar win gwyn.

---

*Eli da i lanhau Briwiau.*

Cymerwch haner pwys o sug smallage, ac o fêl, bedair wns a haner, a blawd gwenith, wns a haner, a berwch hwy ynghyd hyd nes y tewychont, a chedwch hwynt i lanhau hen friwiau dyfrllyd a drewedig.

---

*Un arall i'r un dyben, ond yn fwy effeithiol i fwyta cig marw.*

Cymerwch bedair wns o sug smallage, a'r un faint o sug safander, ac un wns o verdigrise, ac o fêl, bedair wns, ac o winegr, dwy wns, a'u berwi ynghyd ar dân araf hyd nes y tewychont. Defnyddiwch yr un modd a'r llall.

Nid yw yn berthynol i un math o friwiau ond i'r rhai sydd a chig marw ynddynt.

---

*Enaint i wellâu cymalau ac aelodau wedi rhwymo gan oerfel.*

Cymerwch o beyleaves, haner pwys, yn leision, ac o ddail cabbage, chwarter pwys, yn leision, a'u berwi mewn pum pwys o saim traed defaid, a dau bwys o wêr eidion, a berwch y dail ynghyd yn y saim a'r gwer, hyd nes y crimpo y dail ynddo, yna straeniwch, a chedwch yn barhaus i iro'r gewynau a'r aelodau clwyfus, pan fo'nt yn pallu gan oerfel.

*Enaint i'r Nerves, ac i wellhau holl ffaeledd yr aelodau trwy oerfel.*

Cymerwch sage, a rhosemari, a lavender, a bey-leaves, a chamomile, a rhiw'r gerddi, a wermod, llonaid llaw o bob un o'r dail hyn, ac o fintys, ac o gribau St. Ffraid, y gantwll, a phersly, haner llonaid llaw o'r rhai hyn; saim traed defaid, pum pwys, gwêr defaid, dau bwys, oil spike, haner wns, a'r dail wedi eu curo a'u berwi ynghyd a'r saim, yr oil, a'r gwer, wedi iddo ferwi digon, straeniwch trwy liain, a chedwch fel peth o fawr werth i eneinio'r aelodau pan y byddont glwyfedig a diffygiol. Pa beth bynag yw, os bydd wedi magu trwy oerfel, neu anystwythder yn y cymalau, neu'r aelodau yn diffrwytho gan y polsi, neu ryw beth arall o'r cyfryw; os bydd y Colic, neu wynt yn y bol, gellwch yn llwyddianus wneud defnydd o'r enaint o flaen y tân, a chadw cynhesrwydd. Dyma gyngor o fawr werth.

---

*Y modd i wneuthur Plaster i dori y Colic, ac i esmwythau poen yn mhob rhan o'r corph.*

Cymerwch y berries, neu y grawn sydd yn tyfu ar y bayleaves, ac os na ellwch eu cael, cymerwch y dail wedi eu powdro, ddwy wns, ac o venus turpentine, dwy wns a haner, o Frankin-sense a mastic, haner wns, ac o fêl, bedair wns, a gwnewch hwynt yn blaster, trwy eu cymysgu a'u berwi ynghyd, a'u taenu ar ledr, a'u rhoddi ar y lle clwyfus, pa un bynag ai ar y bol neu ar yr aelodau. Y mae hwn wedi bod o fawr leshad amrywiol droion.

*Plaster da i roddi ar Esgyrn Briwedig, ac i lanhau hên friwiau.*

Cymerwch gribau St. Ffraid, yn leision, a llysiau y dryw, sage, lercitus, llysiau y gwaedlif, a chwmphri, a'u curo a'u berwi mewn peint o win gwyn; pan ferwont, streiniwch, a theflwch y dail ymaith, a chymerwch o frankinsense a mastick, wedi eu powdro, o bob un, chwarter wns, a chŵyr gwyn a thurpentine, o bob un bedair wns, ac ystor, ddwy wns, a berwch yr holl bethau uchod yn y gwin, yn yr hyn y berwyd y dail, a gwnewch yn blastr a rhoddwch ar ledr ar y lle briwedig; gellwch wneuthur o hono mor lleied a fynoch, ond cymeryd llai. o'r defnyddiau.

---

*Y ffordd i wneud Eli da at bob math o Friwiau.*

Cymerwch haner pwys o floneg wedi ei doddi, ac o blwm coch, ac o blwm gwyn, (read and white lead), wns a haner o bob un, ac o gŵyr melyn, wns a haner, ac o ystor du, un wns, o venus turpentine, ddwy wns; berwch hwynt am dri chwarter awr, a rhoddwch y venus ynddo, agos ar ddiwedd y berwi, a'i dynu i lawr, gan ei droi hyd nes oero.

Plastr da i roddi ar Esgyrn briwedig i feddalhau ac i ostwng chwydd, ac i dymheru rhyw ran ar y corph a fyddo wedi ei niweidio trwy oerfel; gellwch ei gael yn Siop y Druggist, dan yr enw oxycroceum plaister.

---

*Rhag Ysgyrfi yn y Dannedd.*

Cymerwch sage tê, a rhoddwch ynddo ychydig allum i'w doddi, a chymerwch gadach lliain, a golch-

wch gig eich danedd âg ef yn dda ac yn fynych; ac os ewyllysiwch wneuthur eich dannedd yn wynion, cymerwch allum wedi ei losgi a'i bowdro, un wns, a chwe llwyaid o sug calendine, cymysgwch ynghyd, a rhwbiwch eich dannedd âg ef.

---

*Cyngor rhag y Dwfr poeth.*

Cymerwch ychydig salts of tartar, ac yr un faint o'r magnesia, a'u cymysgu mewn ychydig ddwfr, a chymeryd llonaid llwy fwrdd o hono yn lled fynych; hyn a wellha y Dwfr poeth.

---

*Cyngor i rai sydd dueddol i fod yn rhwym.*

Cymerwch cream of tartar wedi ei gymysgu mewn mêl, a'i gymeryd yn fynych yn y bore: a hyn a geidw y corph yn dymherus.

---

*I ostwng chwydd yn mronau merched, pan y byddo o herwydd gormod o laeth.*

Cymerwch gŵyr melyn, ddwy wns, ac o linseed oil, neu olew had llin, haner pwys, a thoddwch ynghyd, a gwlychwch liain glân ynddo, at yr un faint a'r lle dolurus, pan ag y byddo yn dwymn, a rhoddwch ar y fron, neu ar y ddwy, os bydd yn angenrheidiol; a gwnewch hyn nes darfyddo y boen, a gostwng y chŵydd.

---

*Cyfarwyddyd i Fammaeth sydd ry brin o laeth i'w phlentyn.*

Deallwch gymaint a hyn, os bydd y Fammaeth yn gystuddiol, ac yn cario meddyliau trymion, y

mae hyn yn ei gwneuthur yn deneuach; nis gall fod ganddi lawer o laeth, a'r hyn sydd ganddi, ni all fod yn llaeth iach, ac y mae bwydydd a diodydd sâl yn lleihau y llaeth; am hyny dylid ymwrthod â phob bwydydd drwg ac afiach, a bwyta y bwydydd goreu os gellir eu cael, a'u diod a ddylai fod o lefrith da; yn mha un y dylai fod yngwlych had ffenigl dros nos; a barley water, neu ddwfr haidd sydd dda hefyd i'r un dyben. Neu gymeryd barley water, a rhoddi o ddail ffenigl yn leision ynddo, a'u berwi, a'i felysu â siwgr, a'i yfed fel diod gyffredin; ac yn allanol, cymerwch ffenigl a smallage, yr un faint o bob un, a'u berwi mewn dwfr, a golchi y frest âg ef mor boeth ag y gellir ei ddioddef; neu curwch ddail mintys, a rhoddwch yn bowltis poeth ar y fron; neu cymerwch phenigl a phersly, lonaid llaw o bob un, yn leision, a'u curo ynghyd, a'u chwysu, a'u rhoddi yn bowltis cynes ar y fron, a hyn a ychwanega y llaeth.

---

*Cyngor i wellhau y Paps, neu ben y Fron.*

Gwnewch bowltis o flawd ffa, a salad oil, a rhoddwch yn gynes ar y dolur, a newidiwch ef un waith yn y dydd, ac os bydd pen y fron yn chŵydd caled, cymerwch lonaid llaw o ryw'r gerddi, a'r un faint o horownd, ac o fintys, a churwch y dail ynghyd mewn mêl, a rhoddwch yn bowltis ar y lle, hyd nes y byddo yn iach.

---

*I dori y Colic ar ferched, pan y byddo eu hamser yn agoshau i eni plant.*

Y mae y boen hon, ar rai amserau, mor annioddefol a'r boen wrth esgor, ac y mae'r fydwraig

anneallus yn anl yn cymeryd y naill yn lle y llall, ac ar rai gweithiau y maent yn digwydd yn yr un munudau, yr hyn sydd yn gwneuthur eu poen yn llawer gwaeth, ond i brysuro at y cyngor; cymerwch ddwy wns o oil sweet almonds, ac un wns o sinamon water, a phedwar diferyn o spirit sunsur, ac i'r ferch ei yfed i gyd pan yn y ffit o'r Colic.

---

*Rhag dolur mewn boliau plant bychain.*

Os bydd o herwydd y llyngyr, cymerwch gamomile, a rhiw'r gerddi, ac ychydig o fustl eidion, a'u curo a'u berwi yn nghyd, a'u gwneuthur yn bowltis i'w rhoddi wrth y bol; os bydd ar ryw achos arall, rhoddwch iddynt un dram o oil sweet almonds, a siwgr candi. Gellwch hefyd yn llwyddianus roddi iddynt haner dram o had anis wedi eu powdro, a'u cymeryd gydâ rhyw beth cyfaddas.

---

*I gryfhau plant bychain, pan y byddont weiniaid newydd eni.*

Cymered y fudwraig, neu ryw un arall, y plentyn mewn gwlanen gynes at y tân, a chymered ychydig wîn coch yn ei genau, a rhoddi o'i genau ei hun yn ngenau y plentyn; gwnewch hyn yn fynych, a a rhoddwch liain wedi ei wlychu mewn gwîn coch cynes ar fol a brest y plentyn.

---

*Rhag ffitiau Confulsiwn ar blant bychain newydd eu geni.*

Deallwch nas gall plentyn newydd ei eni gymeryd dim yn dufewnol, ond yn allanol: cymerwch

flodau camomile, a gwraidd lili y dwfr, a berwch ynghyd mewn dwfr, a golchwch y plentyn âg ef yn dwymn, yn fwyaf neillduol asgwrn y cefn, ac ar ol ei olchi ef, eneiniwch drachefn â saim gŵydd, a rhwymwch ef mewn gwlaneni i'w gadw yn gynes: ac os na wna y pethau a enwyd y tro, cymerwch oil of worms, neu olew pryfed genwair, ac oil of lilies, ac oil of foxes, ac oil of turpentine; y mae rhai neu'r cwbl o'r oelion hyn yn dda i eneinio asgwrn y cefn o flaen ychydig wres, a'i rwymo ef mewn gwlanen. Gellwch ddefnyddio y cyngorion hyn at blant a fyddo'n hynach, yn gystal ag i rai a fyddant newydd eu geni, os byddant yn dueddol i'r ffitiau confulsiwn. Deallwch hefyd fod yr oelion hyn; a phob peth arall a enwyd yn y llyfr hwn, ond y dail, i'w cael yn siop y Druggist.

---

*Ychydig gyfarwyddyd i gymergd Purge.*

Deallwch hyn, os bydd eich cyrph yn bur rwym, ac yn ffaelu ei ryddhau gyda rhyw beth yn raddol, ac yn gorfod cymeryd purge cryf; byddwch yn sicr o ddefnyddio glister o'i flaen, i agoryd y ffordd, os bydd y ffordd, *passage*, wedi cau, y mae yn rhy beryglus cymeryd purge cryf, rhag iddo weithio yr afiechyd ryw ffordd arall, a chodi y colic neu y confulsiwn, neu beth gwaeth yn ei le, o herwydd mawr ydyw y niwed y mae purge cryf yn ei wneuthur ar gyrph dynion; byddwch ddwy awr ar ol cymeryd purge, cyn yfed dim ar ei ol; gadewch i'r cylla, sef yr ystumog, fod yn wâg pan ei cymeroch ef, rhag iddo gymysgu â'r ymborth, a thrwy hyny golli ei nerth, ac anmhuro y gwaed, na chymerwch ddim a f'o'n felus ar ei ol: y mae

purge yn gwanhau y galon a'r natur, am hyny cymerwch ryw beth cyfaddas gydâ'ch purge a fyddo yn cryfhau y galon a'r cylla: os bydd yr afiechyd yn y pen, neu yr aelodau gwell ydyw fod eich Purge wedi ei wneyd yn galed, megis Pills, neu ryw beth cyffelyb, os yn y bol, gwell yw ei yfed.

---

### *Dull Arac wild, neu Lysiau'r Fam wyllt.*

Y mae y rhain yn ddail mân, ac agos yn grynion, ond ychydig yn fain at y blaen, heb ddim toriadau, na bylchau ynddynt, yn tyfu ar wreiddyn eiddil; a'r caugenau yn ymdaenu ar y ddaear, ac y mae yr holl ddeilen yn arogli fel pysgodyn drewedig, neu ryw beth gwaeth.

Y maent yn tyfu yn gyffredin ar y tomenau, yn blodeuo yn Mehefin a Gorphenaf; a'u rhinwedd fel y canlyn, sydd i iachau merched pan y byddont bron wedi gwallgofi gan ffitiau y Fam wrth eu harogli; ond yn enwedig wrth eu cymeryd yn dufewnol. Nid oes yn tyfu dan yr haul na'r lleuad mo'u gwell rhag y dolur hwnw, sef gwynt y fam. Myfi a helaethwn ar y ddeilen hon pe byddai genyf ddoniau. Y mae hi i'w chael yn gyffredin ar y tomenau: y mae hyn yn galw am ein diolchgarwch, trwy ddangos i ni fod gwaith Duw yn rhâd ac yn helaeth i ddynolryw. Myfi a gymellaf y ddeilen hon i chwi megis un o'r perlau mwyaf ei gwerth i fod yn anffaeledig feddyginiaeth i holl ddoluriau y groth, y fath a iachâ yn rhwydd, yn sicr, ac yn brysur holl ffaeledd y groth; y maent yn oeri'r groth pan y byddo yn rhy boeth. gadewch i mi, a mi a ddywedaf i chwi y gwir, mai poethder y groth yw un achos, ac achos mawr, fod gwragedd yn cael

esgorfa mor galed ar enedigaeth plant: ac y maent hefyd yn rhinweddol i wneuthur yr anmhlantadwy yn ffrwythlawn, trwy eu bod yn cryfhau ac yn glanhau y groth: ac yn mhellach, y maent yn dyfod a'r cyrsiau misol i lawr ac y byddont wedi ffaelu, ac yn eu hattal, os byddant yn dyfod yn rhy helaeth. Nis gallwch ddeisyf dim daioni i'r groth, nas gwna y ddeilen hon yn gyflawn. Am hyny, os ydych yn caru plant, ac os ydych yn caru iechyd, ac os ydych yn caru esmwythdra, cadwch y dail hyn yn eich tai trwy y flwyddyn.

Y FFORDD I'W DEFNYDDIO. Os bydd y dail yn leision, curwch a gwasgwch eu sug, a chadwch yn eich tai trwy y flwyddyn; cewch gyfarwyddyd yn niwedd y Llyfr i gadw y sug yn ddilwgr am flwyddyn, ac os bydd y dail wedi eu cynhauafa, berwch hwynt mewn dwfr neu win, a rhoddwch ynddo yn helaeth o siwgr coch, ac yfwch yn fynych o hono wrth eich angen. Bydded i'r cyfoethogion ei gadw i'w gyfranu i'r tylodion.

# *BRITISH HERBAL*,

NEU

# LYSIEULYFR BRYTANAIDD

## Yr ail Ran,

## YN CYNNWYS 50 O LYSIAU MEDDYGINIAETHOL,

A'u hamrywiol rinweddau i symud ac i wellhau yr amrywiol ddoluriau a'r afiechyd ag y mae dynolryw yn ddarostyngedig iddynt.

Ynghyd a chyfarwyddyd i gasglu, i sychu, ac i gadw pob rhan o'r llysiau, a'r ffordd i dynu eu sug, i'w puro, ac i'w cadw yn ddilwgr, a'r ffordd i wneuthur suryp o honynt.

Hefyd cyfarwyddyd i adnabod natur y llysiau, y rhai poethion a'r rhai oerion ar eu penau eu hunain, a'r ffordd i'w defnyddio fel ac y byddont yn gyfaddas feddyginiaeth i'r clwyf, pa un bynag ai yn dufewnol, ai yn allanol y byddont.

---

*Cyfarwyddidau i gasglu, i sychu ac i gadw y dàil a'r sug yn ddilwgr am flwyddyn.*

Am y dail, cesglwch y rhai sy'n leision ac yn llawn o sug, a phigwch yn fanwl y gwywedig a'r llygredig i'w taflu allan fel pethau o ddim gwerth, onid ê fe lygra y lleill oddiwrthynt; a chasglwch y dail cyn iddynt flodeuo na hadu, oherwydd fod eu nerth yn myned i fynu i'r topiau; ac os na bydd cyfleusdra yn rhoi i'w tori cyn iddynt ehedeg, cymerwch eu topiau a gwnewch ddefnydd o honynt, a sychwch y dail yn yr haul, a rhoddwch hwynt mewn cadachau o bapur, a gwniwch hwy i fynu, a chedwch yn agos i'r tàn mewn lle sych. Nis gallwn ddywedyd yn gywir am eu parhâd mewn nerth, oherwydd eu bod yn wahanol i'w gwlydd; y rhai a heliwch mewn tir sych a geidw yn

hwy na rhai o dir llaith. Gellwch ddeall pan gollont eu lliw a'u harogl y byddant wedi colli eu nerth hefyd, na wnewch ddefnydd o'r rhai llygredig, rhag idynt lygru eich cyrph fel ag y maent eu hunain yn llygredig.

---

### *Am y Blodau.*

Y Blodau yw harddwch y llysiau, ag y maent i'w casglu pan fyddont yn eu *prime*, a chesglwch hwynt pan fyddo yr haul yn tywynu arnynt, ac na chesglwch hwynt pan y byddont yn wlybion gan na gwlaw na gwlith; os heliwch hwynt yn wlybion ni chadwant ddim yn hir. Cynhauafwch hwy yn yr haul, a chedwch hwy mewn cydau papyr yn agos i'r tân, fel y dangosais o'r blaen; ac mor hir ag y cadwant eu harogl hwy a gadwant eu nerth.

---

### *Am yr Hadau.*

Deallwch hyn, fod holl nerth y llysiau yn yr hâd: sychwch ychydig arnynt yn yr haul, a chedwch hwynt, fel ag y dangosais o'r blaen, ond ni raid i chwi ofalu cymaint am eu cadw yn agos i'r tân, o herwydd eu bod yn gryfach na'r lleill, ac a gadwant lawer o flynyddoedd; ond gwell ydynt y flwyddyn gyntaf.

---

### *Am y Gwraidd.*

Dewiswch y rhai anllygredig o honynt, a'r rhai heb gael eu bwyta gan bryfed, a'r rhai sydd yn eu lliw, eu blas, a'u harogl, ac heb fod yn rhy galed nac yn rhy feddal; cesglwch hwynt ar amser sych, a'r rhai sydd yn feddal o honynt sychwch yn ngwres yr haul, neu ar linyn yn nghongl y simnai; ond am y

rhai caled, gellwch eu sychu i fynu fel y mynoch, ond ofer yw eich gwaith i sychu y rhai sydd i'w cael trwy y flwyddyn, ond eu cael pan bo eisiau.

---

*Am y Sug.*

Y Sug sydd i'w wasgu allan o'r dail, neu'r blodau, neu'r topiau, neu rhyw ran arall o'r llysiau pan y byddont yn ieuangc ac yn dyner, a heliwch y dail pan na byddont wlybion gan na gwlaw na gwlith, onid ê ni bydd y sug o ddim gwerth i'w gadw, curwch y dail a gwasgwch allan y sug trwy gwd-lliain, a phurwch ef, sef tynu y sothach allan o hono, fel y canlyn, rhoddwch ar y tân, mewn ysgelet, a berwch, a phan godo y ffroth, heliwch i'w daflu ymaith; a deliwch ar y tân nes iddo ddarfod ffrothio, ac ar ol iddo oeri, potelwch, a rhoddwch ar ei dop ddwy fodfedd o sweet oil, yr hwn a geidw yr awyr allan o hono, trwy ei fod yn wastadol yn nofio ar y gwyneb; os caiff gwynt fyned ato ni fydd o ddim gwerth; a phan y byddoch ar fedr gwneuthur defnydd o hono, tywelltwch beth o hono allan, a scimiwch yr oil, a rhoddwch ef yn y botel; a hyn a'i ceidw yn berffaith am hir amser.

---

*Am y Suryps.*

Y ffordd i wneuthur Suryp, cymerwch beint o'r sug, wedi ei buro yn ol y cyfarwyddyd o'r blaen ac at bob peint rhoddwch bwys o siwgr coch, a berwch hwy ynghyd, a scimiwch y ffroth i'w daflu ymaith, ac wedi iddo ferwi digon, streiniwch trwy lian, a chedwch hyd nes y delo angen am dano; fe geidw am flwyddyn neu ychwaneg, cedwch ef mewn gwydrau neu lestri pridd heb eu corcio; ni raid i

chwi ond rhoddi papur ar ei wyneb, a'i rwymo âg edef; mae hyn yn llawer mwy rhinweddol na berwi y dail at y doluriau ag y bont yn berthynol. Os bydd i chwi fanwl chwilio y llyfr bychan hwn, a gwneud yn ol y cyfarwyddyd a osodais i lawr ynddo, gellwch gael budd a lleshad corphorol oddiwrtho pan y byddwyf fi wedi myned i ffordd yr holl ddaear.

Myfi a ddeuaf yn bresenol i ddangos i chwi y ffordd oreu i wneuthur defnydd o'r dail, fel y byddont yn fwy cyfaddas at yr amrywiol ddoluriau, pa un bynag ai yn allanol neu dufewnol y bo'r dolur; yn gyntaf daliwch sylw ar natur eich dolur, pa un ai poeth ai oer ydyw, a pha un ai trwy ormod o wres neu oerfel y mae y dolur wedi magu, ac os bydd y dolur trwy oerfel, ac wrth natur yn oer, cymerwch y dail sydd wrth natur yn boeth; ac os bydd y dolur trwy wres, ac wrth natur yn boeth, cymerwch y dail sydd wrth natur yn oer; pa un bynag ai yn dufewnol ai yn allanol y byddo'r dolur. Ond i'ch gwneud yn fwy dealladwy yn natur y dail, myfi a roddaf y dail sydd boethion yn eu natur i lawr gyd a'u gilydd, a'r rhai sydd yn oerion yn yr un modd gyd a'u gilydd, fel ag y galloch weled pa rai sydd, a'r rhai nad ydynt gyfaddas i'r clwyf. Ond deallwch fod llawer mwy o rai poethion yn eu natur, wedi eu casglu, na'r rhai oerion yn eu natur; oherwydd fod doluriau sydd yn magu trwy oerfel yn fwy aml yn y gwledydd oerion hyn. Myfi a ddangosaf yn bresenol y rhai poethion yn eu natur yn gyntaf, fel y canlyn:—

Llysiau y dryw, llysiau yr angel, balm, neu bôm, cribau St. Ffraid, cacamwci, bey leaves, banadl, camomile, carn yr ebol, salendine, neu lym y

llygad, *eringo*, sef celyn y môr, y dorfagl, gwraidd rhedyn, ffanigl, llysiau yr esgyrn, horownd, dail y gwinwydd, llysiau y fam, gwallt y forwyn, mwstart, mintys, clust y llygoden, llysiau Ifan, gold mari, dail poethion, persli, palat y wàl, llygad Ebrill, neu lysiau y peil, rhos Mari, rhiw y gerddi, sage, sage gwylltion, neu chwerwlys yr eithin, Solomon seal, juniperberries, ysgall bendigaid, neu gribau Mair, tyme, dail ysgyrfi, smallage, triagl y moch, sef tormentile, tansi, a'r wermod. Dyma enwau y rhai poethion yn eu natur, pa rai sydd i'w defnyddio at ddoluriau sydd yn magu trwy oerfel.

Yn nesaf cewch y rhai oerion yn eu natur, fel y canlyn :—

Arac, neu droed yr ŵydd, sef llysiau'r fam wyllt, y ben galed, dail llwyn hidl, llysiau'r ychen, lili'r gerddi, lili y dwfr, llygad y dydd, dail y rhoccos, rhosynau cochion, pwrs y bugail, dant y llew, cwmphri.

Dyna i chwi enwau y dail sydd oerion yn eu natur, fel pan y byddo arnoch eisiau oeri'r ystumog neu y gwaed, neu ryw ranau tu mewnol neu allanol, gellwch yn hawdd ei wneuthur gyda rhai neu y cwbl o'r dail hyn. Ac os bydd y gwaed yn rhy oer, ac eisieu ei wresogi, gellir ei dymheru gyda'r rhai poethion a enwyd. Ni ddywedaf ddim yn ychwaneg am natur y dail. Myfi a adawaf i chwithau chwilio allan natur eich dolur eich hunain, ac yna gellwch yn hawdd, trwy ddarllen y ddalen hon weled natur y dail, a thrwy hyny drefnu y feddyginiaeth yn gyfaddas i'r clwyf.

---

*Angelica, neu lysiau yr Angel, llysiau'r Ysgyfaint.*

Y mae y dail rhagorol hyn yn tyfu mewn gerddi,

am hyny ni flinaf y darllenydd a'u dull. Maent yn yn eu llawn nerth yn mis Gorphenaf, a'u hâd yn addfedu yn mis Tachwedd. Y mae y dail rhagorol hyn yn gorchfygu gwenwyn, trwy eu bod yn cryfhau y galon, ac yn ei chynnorthwyo yn ei erbyn, ac yn erbyn y pla yr un modd, trwy gymeryd haner dram o'r gwreiddyn, wedi ei bowdro, a'i gymeryd mewn triagl, a gorwedd yn y gwely a chysgu. Y mae pob rhan o'r ddeilen hon yn llawn rhinwedd, ond ei gwreiddyn; y maent yn dda i wellhau yr holl ddoluriau sydd yn dyfod i mewn i'r corph trwy oerfel; nid aml y maent yn ffaelu symud ymaith y cryd, trwy eu cymeryd ddwy neu dair gwaith o flaen y ffit, haner dram o'r gwreiddyn, neu ddeg gronyn o'r hadau sydd yn ddigon i'w gymeryd ar unwaith, a phowdr o'r gwraidd wedi ei gymysgu â mêl sydd dda rhag diffyg anadl, a'r pesychu, a phob afiechyd arall yn y frest; os bydd wedi magu drwy oerfel, y maent yn helpu poenus ofidiau y colic a'r grafel, ac yn helpu merched yn eu harferiad misol. Ond cofiwch gadw y corph yn dymherus. Y maent yn helpu y Fam a'r Ysplin, ac yn gostwng chwydd tufewnol; a'r sug trwy ei dropio i'r llygad sydd yn ei sirioli, ac y mae yn helpu y clyw drwy ei ddyferu i'r glust, a'i roddi yn nhwll y dant a ddofa y ddanodd; y gwraidd yn bowdr a'i wneud yn blastr â phŷg, a'i roddi ar frathiad ci cynddeiriog, neu ryw beth gwenwynig arall a'u gwellhâ yn fuan Nid ydwyf am ymhelaethu yn bresenol arnynt, o herwydd y mae hir-ddydd haf yn rhy fychan i ysgrifenu eu rhinwedd yn gyflawn.

---

*Balm, neu Bôm.*

Mae y dail hyn yn tyfu mewn gerddi, yn ad-

nabyddus trwy'r holl wledydd. A'u rhinwedd fel y canlyn. Y mae y dail hyn yn cryfhau y rhanau tumewnol yn rhagorol, sef y galon, y lle mwyaf angenrheidiol. Fe fyddai yn dda genyf glywed fod suryp wedi ei wneuthur o'u sug a siwgr coch, yn cael ei gadw yn nhai holl foneddigion ein gwlad, fel ag y gallont ei gyfranu yn rhad i'r tylodion afiachus. Y mae yr Arabiaid yn derchafu eu rhinwedd i'r graddau uchaf. Y maent yn foddion i'r meddyliau a'r galon lawenhau, ac yn iachau y rhai sy'n dueddol o gael ffitiau yn eu cwsg, ac yn gyru ymaith holl feddyliau trafferthus, y rhai sydd yn codi oddiwrth y melancoli. Ac y maent yn dda rhag brathiad ci cynddeiriog, trwy eu berwi mewn gwin, yfed y gwin a rhoddi y dail yn allanol ar y lle; ac y maent hefyd yn dda i ferched i'w berwi, ac eistedd arnynt yn glòs uwch ben eu hager, i ddyfod a'u cyrsiau misol i lawr. A'r dail hefyd sydd dda wedi eu cynhauafu a'u powdro a'u cymysgu â mêl, rhag diffyg anadl a phesychu. Gellwch eu cymeryd wrth eich deall eich hunain: os yn leision, gwasgwch eu sug, a berwch ynghyd a siwgr coch; ac os wedi eu sychu, berwch mewn dwfr a gwin, ac yfwch o honynt i wellhau yr holl ddoluriau a enwyd uchod.

---

*Betony, neu Gribau St. Ffraid.*

Dyma un o'r dail a ddylai gael ei chadw yn mhob teulu; y maent yn tyfu mewn lle cysgodol, ac yn blodeuo yn mis Gorphenaf. Y mae un Physygwr wedi ysgrifenu llyfr mawr a helaeth ar rinweddau y dail hyn, ac yn mysg ereill o'u rhinweddau, y mae yn cadarnhau eu bod yn cadw yr iau a'r corph oddiwrth y pla; ac hefyd y maent yn

cynorthwyo y rhai ac y mae eu hystumog yn rhy wan i gynal eu bwyd, ond yn ei daflu allan; ac y maent hefyd yn cynorthwyo y rhai ag y mae eu bwyd yn suro yn eu hystumog, ac y maent yn gwella y clwyf melyn, a'r ffitiau confylsion, a'r polsi, a'r dropsi, ac yn dda i wellhau y gowt a'r gewynau; ac y maent yn gwellhau y rhai sydd yn cael eu mynych flino gan boen yn y pen, trwy eu berwi mewn dwfr ynghyd a pennyroyal, a'u hyfed yn y bore, mae yn lladd y llyngyr, ac yn gwellhau y cryd, trwy eu cymeryd yn fynych o flaen y ffit, ac yn tori poen yn y cefn a'r ystlysau, a'r holl ranau tufewnol, ac y maent yn cynnorthwyo y cyrsiau misol a ffitiau'r fam, ac yn esmwythau ffitiau'r gareg, a'r grafel.

Gellwch eu berwi mewn diod fain, neu win a dwfr, a'u hyfed yn fynych ac yn helaeth, wedi ei dwymno yn glaiar i wellhau yr holl ddoluriau a enwyd uchod; ac wedi eu sychu, gellwch eu powdro, a'u cymysgu â mêl rhag pesychu a diffyg anadl, a rhag y consumsion ar yr ysgyfaint, a phob rhyw afiechyd arall yn y frest; ac nid ydynt ddim llai eu heffaith mewn pethau allanol, sef briwiau hen a newydd, trwy eu mynych olchi â'u sug; ac y mae ychydig o'u sug yn dda i'w ddiferu i'r llygaid pan fyddo yn ddolurus. Y mae y dail hyn yn rhagorol ac yn anghydmarol o dda, a dylent gael eu cadw yn mhob tŷ trwy y flwyddyn.

---

*Burdoc, neu Cacamwci lleiaf, Cedorwrach.*

Y maent yn fwyaf neillduol i ferched, trwy rinwedd y dail a'r hadau y gellwch dynu'r groth y ffordd y mynoch, os bydd hi yn syrthio i lawr,

gellwch wneud plastr o'r dail neu'r had, a'i roddi ar goryn y pen, a hyn a'i cwyd i fynu; ac os bydd y groth yn codi i fynu, ac yn eich mygu megys gwynt y fam, rhoddwch y plastr wrth wadnau eich traed, ac os byddwch yn dewis cadw y groth yn ei lle, rhoddwch y plastr wrth ei bogel. Dyma un ffordd dda i sefydlu y plentyn yn y groth. Cymerwch un dram o'r gwraidd wedi eu powdro ar un waith rhag poeri gwaed; cymerwch lonaid llwy fwrdd o sug y dail mewn hen win, a hyny'n fynych, rhag brathiadau nadroedd a chwn cynddeiriog, a churwch y gwraidd, a chymysgwch â halen, a rhoddwch yn allanol wrth y brathiad; a chymysgwch lwyaid o'i sug mewn mêl, a chymerwch yn fynych rhag y grafel, neu'r had wedi eu powdro, a'u cymeryd mewn gwin gwyn, yn allanol, fel y canlyn, curwch y dail, a rhoddwch hwynt yn blastr poeth wrth y gewynau pan ag y byddont yn boenus, neu yn cwtogi; curwch y dail ynghyd a gwyn ŵy, a rhoddwch yn blastr ar losg tân, yr hyn a ddiffydd y tân ac a'i gwella yn hollol iach. Gellwch gymeryd yr had a'r gwraidd yn dufewnol wrth eich deall eich hunain. Pan ag y siaradwyf am ddail a rhyw enbydrwydd yn eu canlyn, myfi a roddaf swm y dognau ar lawr.

---

*Bey leaves, neu Ddail Cwrw.*

Nid oes eisiau dweud dim am eu dull, ond am eu rhinweddau, fel y canlyn,—y maent yn gwella y clwyf melyn, a'r dropsi, ac y maent hefyd yn cynnorthwyo y merched yn eu harferion misol, ac wedi genedigaeth plant, ond iddynt beidio a'u cymeryd cyn bod ar ben eu hamser, ac y maent hefyd yn

chwalu gwynt, ac yn gwellhau y grafel, ac yn gwellhau ffitiau y Fam, ac yn lladd y llyngyr.

Y ffordd i'w cymeryd:—Gellwch eu cynhauafu a'u powdro, a chymeryd ychydig o honynt ddwy neu dair gwaith yn y dydd, ar win, rhag y pethau a enwyd uchod; os rhag pesychu a diffyg anadl, cymysgwch hwy mewn mêl, a chymerwch ef o hono, ac os bydd y dail yn leision, berwch hwy mewn rhyw beth cyfaddas, a rhoddwch fêl ynddynt, a chymerwch hwynt yr un modd.

---

### *Blue Bottle, neu y Ben Galed.*

Maent yn tyfu yn mysg yr ŷd.—Dyma ddail oer yn eu natur, ac y mae y powdr o'r dail sychion, a'u cymeryd ar fêl, yn rhagorol o dda i rai sydd wedi cael codymau, a'u briwio oddi fewn, ac i atal gwaedu o fewn, trwy eu cymeryd mewn dwfr wedi berwi cwmphri ynddo; ac y maent hefyd yn dda i wellhau brathiadau pob math o ymlusgiaid gwenwynig, a'u sug sydd yn iachau pob briwiau newydd, ac yn eu prysur groeni.

---

### *Broom, neu Fanadl.*

I dreulio amser am eu dull, nid yw o ddim llesiad, gan eu bod mor adnabyddus trwy y wlad, ac yn difetha yr holl dir lle maent yn tyfu. Eu rhinweddau sydd fel y canlyn:—mae eu had, wedi eu powdro, a'u cymeryd mewn gwin, yn gweithio yr hwmer dyfrllyd i lawr o'r corph, sef y dropsi a'r gowt, a phoen yn y cymalau ac yn y cefn, ac i wellhau y clwyf melyn, ac i'w berwi mewn dwfr i olchi y coesau chwyddedig: ac os berwch hwynt mewn oil, hwy a fyddant yn llawer iawn gwell. A

dyma yr anffaeledig beth i ladd yr holl lau yn y pen, a'r holl leoedd ereill hefyd.

---

*Buck's horn plantain, neu Ddail llwyn hidl.*

Y dail hyn wedi eu berwi mewn gwin, a'u hyfed, a rhoddi y dail yn allanol ar y lle, sydd yn iachau brathiadau nadrodd, ac y maent hefyd yn iachau dolur y gareg, ac hefyd yn iachau y rhai sydd yn taflu eu bwyd i fynu, ac yn atal gwaedu o'r genau a'r ffroenau, a'r clwyf gwaed, a'r rhai sydd yn gwneuthur dwfr gwaedlyd, trwy eu berwi mewn cwrw, neu win, a'u hyfed nos a bore; y maent yn iachau pob math o ddoluriau yn y llygaid.

---

*Colts foot, neu ddail carn yr Ebol.*

Y maent yn adnabyddus i bob dyn, yn eu nerth o Ionawr hyd Fawrth; y maent yn rhagorol o dda rhag pesychu a chaethiwed, ond y dail wedi eu sychu sydd oreu i rai a fyddo yn pesychu ac yn poeri llawer, i'w cymeryd megis tobacco a'u smocio; ac y maent hefyd yn dda i ostwng chwydd, ac y maent yn dda hefyd rhag tân eiddew, trwy eu gwneud yn eli â bloneg, ac yn dda hefyd rhag y peils, trwy eu berwi mewn dwfr, a rhoddi cadachau poethion ar y lle. Y ffordd i'w cymeryd yw eu berwi mewn dwfr, a rhoddi ynddynt fêl a siwgr coch, a'u cymeryd wrth eich angen.

---

*Celandine, neu lym y llygad.*

Mae y dail hyn yn anghydmarol o dda trwy wasgu eu sug a'i gymysgu â mêl, i'w roddi mewn llygadau clwyfus, ac i wisgo'r bysen oddiar y gan-

wyll. Hyn a allaf gadarnhau fy hun, trwy ei dreio amrywiol weithiau, a phob tro gyda llwyddiant. Ac yn mhellach, berwch y dail âg ychydig had anis, mewn gwin gwyn, ac yfwch o honaw yn fynych, fe wellhâ'r iau, y bustl, a'r clwyf melyn, ac y mae yn dda rhag y dropsi; os powdrwch y gwraidd a'u rhoddi mewn dant a thwll ynddo, efe a syrth allan; a'u sug wedi ei gymysgu â fflywer brwmstan, a wellhâ'r ymgrafu, ac a gliria'r croen o bob drwg liw.

## *Cwmphri.*

Dyma ddail oerion, yn y trydydd gradd, y maent yn gwellhau y rhai sydd yn poeri eu gwaed, a'r rhai sydd yn gwneuthur dwfr gwaedlyd; a'r gwraidd, wedi eu berwi mewn dwfr neu win, a'u hyfed, sydd yn dda at bob math o friwiau tufewnol, ac yn cynnorthwyo rhai i boeri yn esmwyth pan fyddont yn methu cael fflems i fynu; y maent yn atal y cyrsiau misol pan y byddant yn rhy helaeth, a'r gwynion yr un modd, trwy eu berwi mewn gwin coch, ac yfed y gwin, neu gymeryd powdr o'r gwraidd ar win. Ac yn allanol curwch y dail, a rhoddwch hwynt ar friwiau newyddion, a hwy a groenant yn fuan, ac nid oes eisiau mo'u gwell i rai a fyddo wedi tori eu lleingig, trwy yfed powdr o honynt ar win coch, a rhoddi'r dail yn blastr allanol ar y lle; y dail hefyd sydd dda i'w gwneuthur yn blastr neu bowltis, a'i roddi ar fronau merched pan fyddo gormod o laeth ynddynt.

## *Camomile.*

Nid yw yn angenrheidiol i dreulio amser gyda y rhai hyn, gan fod eu rhinwedd mor adnabyddus yn

eich plith am chwalu pigiadau, a thori poen yn y ystlysau, ac i chwysu yn nechreu y doluriau, maent yn gyffredin yn dda mewn chwys i esmwyth-hau'r corph o goryn y pen hyd wadn y troed, ac maent yn dda i wellhau y cryd, trwy eu hyfed yn gryf yn nechreu y ffit, a chwysu ar ei ol, ac yn du fewnol y maent yn esmwythau poen yn y bol, colic, a'r grafel; y ffordd oreu yw cymeryd blodau, a'u gwneud yn bosel gyda diod frag thriagl, a chwysu i dori pigiadau; ac y maent yn dyfod a'r cyrsiau misol i lawr ar ferched, a'u sug wedi eu berwi ynghyd a'u blodau mewn gwin gwyn, sydd dda rhag y clwyf melyn a'r dropsi.

Yn allanol, y maent yn dda i gryfhau y gewynau trwy eu golchi â hwynt yn boethion, ac nis gellwch gael gwell deilen na hon at bob math o oerfel yn yr aelodau.

Cymerwch eu sug ynghyd a siwgr rhag y 'splin y maent yn rhagorol o dda rhag dolur y gareg; hyn a'i profa, os cewch gareg wedi ei thynu oddi wrth ddyn, a'i rhwymo i fynu mewn camomile cewch weled y todda, yn fuan hefyd.

---

### *Dwarf Elder, neu Ysgaw Mair.*

Y mae y cangenau ieuangc sydd yn tarddu alla o'r rhai'n yn dda rhag y dropsi, trwy eu berw mewn broth a'i yfed; ond os craswch y rhisg cano a'u berwi mewn dwfr, a'u hyfed, y maent yn llawe iawn cryfach, ac yn fwy awdurdodol yn erbyn dropsi; y mae y gwraidd hefyd yn dda rhag brathia neidr a chi cynddeiriog, trwy eu gwneud yn blast a'u rhoddi ar y lle; a'r dail sy'n dda i'r merche i'w berwi mewn dwfr, ac eistedd uwch ben yr ager

i feddalhau caledrwydd y fam, ac i ddyfod a'r cyrs-iau misol i lawr, neu berwch eu brigau mewn gwin, ac yfwch o hono i'r un dyben; ac y mae y sug, trwy ei ddiferu i'r clustiau yn esmwythau eu poen, ac os berwch y brigau mewn gwin, a'i yfed, chwi a'i canfyddwch yn dda rhag y grafel, a dwfr wedi ei ddystillio o'u blodau sydd yn harddu y corph, ac yn tynu lliw yr haul a phob rhyw an-harddwch oddiar y croen.

---

### *Dandelion, neu Ddant y Llew.*

Eu rhinwedd sydd fel y canlyn,—Berwch eu gwraidd mewn gwin gwyn, os gellwch ei gael, onid ê mewn dwfr, ac yfwch o hono rhag y grafel a'r clwyf melyn, a'r splin, ac yn enwedig, peidied y rhai sydd mewn darfodedigaeth ei anghofio, o her-wydd ei fod yn rhagorol o dda iddynt i'w yfed yn fynych; ac y maent yn caniatau esmwythdra a chwsg esmwyth i'r rhai sydd yn methu ei gael o herwydd y gwres yn eu cyrph. Y mae y Ffrancod a'r Dutch yn eu bwyta yn spring y flwyddyn, i gadw eu cyrff mewn iechyd; ac os edrychwch ychydig yn mhellach, gellwch weled yn eglur fod physygwyr gwledydd tramor a llawer llai o hunan-oldeb ynddynt nag sydd ynom ni yn y wlad hon, a'u bod yn llawer mwy ymdrechgar i ddangos rhin-weddau y dail i'w cydgreaduriaid.

---

### *Eringo, neu Gelyn y Mor.*

Y maent i'w cael ar hyd glan y môr, agos yn nhob gwlad sydd yn terfynu ar y môr. Y maent yn eu natur yn boeth yn yr ail radd, ac yn cryfhau

yr ysbrydoedd; os berwch y gwraidd mewn gwin, a'u hyfed yn fynych, y maent yn gwellhau'r frest, yr iau, yr ysgyfaint, y splin, y grafel, y clwyf melyn, y dropsi, poen yn y cefn, y llwynau, y colic, ac yn gwellhau cyrsiau y merched. Mae yn gofyn eu hyfed yn helaeth nos a bore am bymtheng niwrnod rhag y doluriau uchod. Ac os mewn dwfr y berwch hwynt, rhaid ei ferwi ar dân araf, yn hir, a chauad clòs ar y llestr, i ddal yr ager i mewn, a rhoddi ynddo chwarter pwys o siwgr coch at bob chwart i gydferwi âg ef, a'i botelu at eich gwasanaeth. Ac yn allanol y maent yn gwellhau y manwynau, trwy guro'r gwraidd a'u rhoddi yn blastr ar y lle.

---

*Eye bright, neu y Dorfagl, neu Lygad siriol.*

Fe'u gelwir fel hyn oherwydd sirioldeb y blodau ac hefyd oherwydd eu rhinwedd at y llygaid. Y maent yn tyfu mewn gweirgloddiau gwair, a thyndir trwy'r holl wledydd. Pe byddai y dail hyn yn cael eu defnyddio mor fynych ag y maent yn cael eu hesgeuluso, hwy a ddifethent waith y rhai sydd yn gwneud yspectols; y sug neu y dwfr a ddistillir o'r dail sydd dda i'w ddiferu i'r llygaid clwyfus; a yfed y dail fel tea, neu wedi eu berwi mewn broth a'i yfed yn fynych, a gryfhâ y golwg pan y byddo'n pallu trwy henaint, neu ryw achos arall: maent hefyd yn cryfhau y synwyrau gweinion, trwy eu berwi mewn diod frâg, a'u hyfed yn fynych.

---

*Fox's Gloves, neu Fenyg y Llwynog, neu ddail Bysedd Cochion.*

Fel ag y mae y dail hyn yn adnabyddus trwy yr holl wledydd, ni flinaf y darllenydd â'u dull; maent

yn tyfu yn fwyaf cyffredin mewn tir diffrwyth, ac ochrau cloddiau. Mae y dail hyn yn glanhau briwiau yn raddol, gyd a'r tynerwch mwyaf. Mae yr Italians yn eu mynych ddefnyddio i lanhau ac i groeni briwiau newydd, trwy guro y dail a'u rhoddi arnynt megis plastr, a'u sug hefyd sydd dda i lanhau hen friwiau drewedig, eu sychu a'u croeni. Ond y mae amrywiol o ddysgedigion yn eu cymell yn dufewnol, i weithio'r corph i fynu ac i lawr rhag y dropsi, ac amrywiol ddoluriau ereill. Ond ni leiciwn i mo'u cymeryd, am hyny ni's gallaf eu cymhell i ereill; ond hyn a ddywedaf, trwy eu profi fy hun, rai cannoedd o weithiau, na thywynodd haul erioed ar well deilen i'w rhoddi mewn powltis at hen friwiau a newydd, ac at yr hyn a elwir yn gyffredin clwy'r brenin, neu y manwynau. Hyn a brofais fy hun, rai ugeiniau o weithiau, a phob tro yn llwyddiannus: a myfi a allaf ddywedyd wrthych nad oes mo'u gwell i'w gwneuthur yn eli gyda bloneg, i wella crach mewn pen.

---

### *Fern, neu Redyn.*

Mae dwy ryw o'r rhai hyn, fel y canlyn, sef yr gwrryw a'r fenyw—mae y fenyw yn tyfu yn uwch ac yn fwy bylchog; ond y mae eu rhinwedd yr un effaith yn gymwys; y mae eu gwraidd wedi eu morteru, a'u berwi mewn dwfr, a'u hyfed yn foreuol, yn lladd dau fath o lyngyr, y llydain a'r crynion, ac yn gwellhau caledrwydd a chwydd yr ysblin, eu gwraidd wedi eu powdro mewn bloneg, sydd yn gwneuthur eli gwerthfawr i iachau briwiau, neu bigiadau drain gwenwynig; ac os rhoddwch eu powdr mewn hen dyllau dyfrllyd a drewedig, hwy

a'u hiachânt ac a'u croenant yn fuan. Dymunaf ar i'r merched beidio a'i gymeryd yn dufewnol; ond y mae i'r meibion yn ddiberygl.

---

*Fennel, neu Ffanigl.*

Maent yn dda i dori gwynt ac i'w chwalu, ac yn dda rhag y grafel, ac yn help i dori'r gareg; a'r dail wedi eu berwi mewn barley water, neu ddwfr haidd, sydd yn dda i ferched i chwanegu eu llaeth, a'i wneud yn fwy iachus i'w plant, ond iddynt ei yfed yn lled aml; a'r hadau, wedi eu berwi mewn gwin, sydd dda i iachau brathiad neidr, neu i rai wedi bwyta dail gwenwynig, neu gegyd, neu ryw beth o'r cyfryw. Mae yr hadau i'w cael yn siop y Druggist drwy y flwyddyn; y maent hefyd yn dda trwy eu berwi mewn pottes, i wneud y rhai sydd dueddol i fyned yn rhy dewion yn fwy teneu.

---

*Ground Ivy, neu Eiddew y ddaear.*

Mae'r dail hyn yn rhagorol o dda i iachau briwiau yn dufewnol, sef yr iau a'r ysgyfaint, ac amryw bethau o'r fath, ac y maent yn esmwythâu yr holl boen yn y bol a'r ystlysau, ac yn chwalu gwynt ac yn esmwythâu y colic, ac y maent yn dda rhag gwenwyn a'r plâ, a'r melancoli, a'r grafel, a'r gowt yn y gliniau a'r traed. Gellwch eu berwi mewn dwfr, a'u hyfed rhag yr holl ddoluriau uchod, neu gymeryd eu sug mewn gwin gwyn a'u hyfed, ond am ba faint i gymeryd o honynt, neu yr amser i'w cymeryd, nid yw yn angenrhaid colli amser, am eu bod yn hollol ddiniweid; a phe b'aent ddail peryglus, mi a'ch rhybyddiwn chwi yn helaeth, ond mi a'i

cyfrifais yn ddoethineb i adael y rhai hyny allan o'r llyfr.

Ond yn allanol y maent yn dda i'w berwi, a rhoddi ynddynt fêl ac alwm i olchi'r genau a'r gwddf pan fyddont yn ddolurus; y maent yn prysur iachâu briwiau newydd, trwy eu cnocio, a'u rhwymo arnynt; a'u sug, wedi ei ferwi, ag ychydig fêl a verdigrise, sydd dda i olchi hen friwiau drewedig, ac y maent yn dda i wellhau'r crafu a'r crach, a phob toriad allan yn mhob rhan o'r corph; ac y mae eu sug yn dda i dori mewn clustiau. Cymerwch o'u sug ac o celandine, ac o lygad y dydd, yr un faint o bob un, a rhoddwch ynddo siwgr dwbl refined, y mae yn rhagorol o dda i wellhau y llygad clwyfus a dyfrllyd, ac i wisgo y bysen; ac y mae mor dda i anifeiliaid ag i ddynion.

---

### *Gooseberry bush, neu ddail Gwsberins.*

Y mae y gwsberins cyn iddynt fod yn addfed yn dda i'w sgaldio, neu eu crasu mewn pobdy i'r rhai sydd wedi colli eu ystumog; ac y maent yn rhagorol o dda i dori blŷs ar ferched pan fyddont yn feichiog. Gellwch eu cadw drwy y flwyddyn, trwy eu presarfio â siwgr, a'u cymeryd wrth eich angen; ac y maent yn dda pan y byddont wedi addfedu i'w bwyta, i oeri yr iau a'r ystumog pan y byddont yn rhy boeth. A'r dail pan y byddont yn ieuangc ac yn dender, sydd dda i'w hyfed rhag y grafel, ac yn allanol i olchi chwydd coch a chaled.

---

### *Horownd.*

Berwch y dail sychion a'r hadau ynghyd a mêl, ac os bydd y dail yn leision, cymerwch eu sug, ac

yfwch o hono yn lled fynych rhag pesychu a diffyg anadl, a'r darfodedigaeth, ac y maent yn dda mewn hir a phoenus drafael, i'w cymeryd yn y ffordd uchod, y maent yn dda i rai fo wedi cymeryd gwenwyn, neu eu pigo, neu eu brathu gan ryw ymlusgiaid gwenwynig, a snyffio eu sug i'r ffroenau sydd yn gwellâu'r clwyf melyn, a'i gymysgu âg oil rhosus, a'i ddiferu i'r glust, sy'n tori y boen yno; ac y maent yn gwellhau y frest, yr iau, yr ysgyfaint, a'r ysplin, trwy eu hyfed yn fynych; cymeryd ychydig o'u powdr bob boreu sydd yn lladd y llyngyr yn y bol, a churo y dail yn leision ynghyd a bloneg, sydd yn gwellhau brathiadau cwn, a phigiadau drain.

---

*Hyssop.*

Berwch isop, ac ychydig ryw'r gerddi a mêl, ac yfwch o honynt rhag pesychu, diffyg anadl, a chrygni yn y frest a'r gwddf, a churwch y dail ynghyd âg ychydig siwgr, a rhoddwch ar friwiau newydd, ac fe a'u hiachâ yn fuan.

---

*Holy Thistle, neu Ysgall bendigaid.*

Y mae yn debyg y rhoed yr enw hwn arnynt gan ryw un a phur ychydig o sancteiddrwydd ynddo ef ei hun, eu rhinwedd sydd fel y canlyn:—Y maent yn gwellhau ysgafnder mewn pen, a'r clwyf melyn, ac yn puro y gwaed, a gwynebau cochion a'r ymgrafu, penaddynod, y pox, a brathiadau cwn cynddeiriog, ac hefyd i gryfhau'r cof; y ffordd i'w cymeryd,—powdrwch y gwraidd, a chymerwch o honynt mewn gwin, neu ryw beth cyfaddas, dair gwaith yn y dydd.

*Honey suckle, neu ddail Gwinwydd.*

Nid wyf yn gwybod am ddim gwell deilen at yr asthma, neu hen besychu, ac hefyd y mae yn cymeryd ymaith holl afiechyd y 'splin, ac yn gwellhau y grafel, ac yn cynnorthwyo merched wrth esgor, ac y mae yn iachau y clymau gwythi, a'r ffitiau confylsiwn, a phob rhyw afiechyd sydd wedi tarddu trwy oerfel. Y ffordd i'wcymeryd, curwch y dail yn nghyd a'u blodau, a gwasgwch allan eu sug, a chydferwch hwynt â siwgr coch, a chymerwch o hono lonaid llwy fwrdd dair gwaith yn y dydd, rhag yr holl ddoluriau a enwyd uchod; os na fydd y dail i'w cael yn leision, berwch ynghyd a mêl, ac yfwch o hono. Ac os ewyllysiwch wneuthur enaint o honynt i lanhau eich crwyn, ac i dynu lliw yr Haul, curwch y dail a'r blodau, a berwch hwynt mewn bloneg, ac irwch eich hunain âg ef.

---

*Mother-wort, neu Lysiau'r fam.*

Y maent yn tyfu mewn gerddi; y mae amryw o honynt, ond y maent oll o'r un rhinwedd; nid oes dim gwell dail yn tyfu i hel melancoli o'r galon, ac i'w chryfhau, a'i gwneud yn llawen. Gellwch wneuthur surop o honynt, a'i botelu at eich gwasanaeth, cewch addysg yn y llyfr i wneud hyny; ac heblaw hyny, y maent yn gwneuthur gwragedd yn famaethod llawen wrth ddwyn plant i'r byd, ac yn sefydlu y groth fel y dylai fod; y maent yn dda pan fyddo'r galon yn curo ac yn dueddol i wasgfauon, yn nghwsg ac yn effro, ac y maent yn dda rhag ffitiau, neu wynt y fam, rhag y grafel, ac i ladd llyngyr, ac yn gwellhau y clymau gwythi, a

ffitiau conffylsiwn: cymerwch eu powdr mewn gwin, a berwch ef, ac yfwch o hono yn fynych.

---

*Maiden hair, neu Wallt y Forwyn.*

Berwch hwynt mewn gwin a dwfr, a chymerwch o hono rhag y pesychu, y diffyg anadl, y clwyf melyn, dolur yr ysplin, ac at atalfa'r dwfr, ac i dori y gareg; berwch y dail mewn oil camomile, y maent yn dda i ostwng chwydd, y maent yn dda i'r rhai fo'n colli eu gwallt, ond eu berwi mewn gwin a sweet oil, neu olew pêr, a rhwbio y gwallt.

---

*Marsh-mallows, Hocys, neu y Rhocos.*

Gwraidd y dail yma sydd dda i'w berwi mewn broth i ryddhau ac i dymheru y corph, pan y byddo yn dueddol o fod yn rhy rwym; rhoddwch eu sug mewn gwin i wraig a fyddo ar ben ei hamser, a hi a gaiff fyned i'w gwely yn fuan, a diberygl; a phan y byddo y merched yn brin o laeth yn eu bronau, hwy a gant helaethrwydd, trwy fynych ddefnyddio'r dail hyn; a llonaid llwy fwrdd o'u sug bob bore sydd ragorol o dda i gadw y corph mewn iechyd, ac hefyd i'r rhai sydd yn dueddol i daflu eu bwyd; y gwraidd wedi eu morteru, a'u gwneud yn bowltis gyda blawd haidd a mêl ac oil rhosus, y maent yn dda i ostwng chŵydd; cofiwch ferwi eu gwraidd mewn llefrith a chwrw, ac yfwch yn helaeth o hono; a hyn gyda bendith Duw, a'ch gwna yn hollawl iach o'r clwyf gwaed.

---

*Mustard.*

Y maent yn rhagorol o dda i bawb ag sydd eisio puro'r gwaed a chryfhau yr ystumog, ac y maent

yn rhagorol o dda i hên bobl pan y byddont yn cael eu poeni gan ddoluriau a fyddo yn tarddu oddiar oerfel, a'u gwneud yn deneu ac yn oer. Y mae y mwstard yn boeth yn y pedwaredd gradd, a thrwy hyny yn cysuro y natur oerllyd; gadewch i henaint wneuthur yn fawr o honynt, ond am yr ieuengtyd sydd a'u gwaed yn llawn gwres, nid oes arnynt ddim angen am danynt. Berwch eu had mewn gwin gwyn, rhag y grafel a'r gareg; y maent yn lladd nerth gwenwyn yn y corph; gellwch eu cymeryd mewn cwrw, neu ar eich brechdan, neu gyda chig, rhag y doluriau a enwyd.

---

*Mouse-ear, neu Lygad y llygoden.*

Y mae y dail hyn yn rhagorol o dda rhag y clwyf melyn, trwy eu hyfed nos a bore, a pheidio yfed un ddiod arall am ddwyawr ar ei hol; y maent yn rhagorol o dda i wellhau ffitiau o ddolur y gareg, yr ysplin, a'r dropsi, ac y maent hefyd yn dda rhag pesychu a diffyg anadl; gellwch eu berwi mewn dwfr, a rhoddi mêl ynddo, ac yfed llonaid cwpan dea o hono dair gwaith yn y dydd, i wellhau y doluriau a enwyd.

---

*Mug-wort, neu lysiau Evan,*

Y mae y dail hyn yn help mawr yn erbyn ffitiau y fam a dolur y gareg; ac y mae eu sug yn help mawr i'r rhai sydd wedi cymeryd gormod o opium, a chysgu yn rhy hir. Ac y maent yn rhagorol o dda i ferched, i'w berwi mewn dwfr, ac eistedd arnynt uwch ben yr ager. Y ffordd i'w cymeryd yn dufewnol,—gellwch eu berwi i'w hyfed; neu eu powdro, a'u cymeryd mewn mêl. Yn allanol y

maent yn iachau chwarenau o amgylch y gwddf, trwy gymeryd eu gwraidd a llygad y dydd a bloneg, a'u gwneud yn eli: a thri dram o'u powdr mewn gwin, a'i gymeryd ar unwaith, a iachâ y gowt, trwy ei fynych gymeryd.

---

*Mari-gold, neu gold Mair.*

Y maent yn cryfhau y galon yn rhagorol, ac yn taflu allan y pla a'r frech wen, ac yn cadw y galon yn iach oddiwrth y pla trwy eu berwi mewn rhyw beth cyfaddas, a'u hyfed yn fynych yn allanol.

Gwnewch blastr o'r blodau wedi eu powdro â bloneg ag ystor a thurpentine, a'i roddi ar y galon mewn clefyd, sydd yn cadw y galon ac yn ei chadarnhau yn erbyn clefyd.

---

*Nettles, neu Ddanadl poethion.*

Hâd y dail poethion i'w cymysgu mewn mêl, sydd dda i'w cymeryd rhag pesychu a'r diffyg anadl, a chaethiwed yn y frest, ac i helpu codi y fflems i fynu, fel ag y gellir poeri yr afiechyd allan.

Berwch eu had mewn gwin gwyn, ac yfwch rhag y grafel a'r garreg, mae hyn wedi ei brofi yn aml; y maent hefyd yn lladd llyngyr mewn plant, ac y maent yn dda hefyd i iachau brathiadau cwn cynddeiriog, a'r rhai a fyddo wedi bwyta cegyd yn eu hanwybodaeth; rhag brathiad ci drwg cymerwch yn dufewnol, a chnociwch y dail gyda halen, a rhoddwch yn allanol ar y lle.

---

*Parsly, neu Bersly.*

Mae y dail hyn yn fwy perthynol i chwalu y grafel, ac i dori y garreg nag un peth arall; y ffordd

oreu i'w cymeryd yhag y grafel yw eu rhostio megis llysiau, a'u bwyta.

Mae'r cyngor fel y canlyn rhag y clwyf melyn a'r dropsi, a'r ffitiau, a'r gareg,—cymerwch had persli, a had ffanigl, a had anis, a had carwe, owns o bob un, ac owns a haner o wraidd persli wedi eu tori yn fân, a malu yr hadau, a rhoddwch hwynt oll mewn llonaid potel o win gwyn dros nos, a berwch yn y bore, mewn llestr pridd cauedig, hyd nes lleihau y drydedd ran o hono, ac yna ystraeniwch a photelwch, a chymerwch o hono bedair owns nos a bore, a pheidio yfed dim ar ei ol am dair awr.

---

*Pellitory of the wall, neu Paladr y wal.*

Powdrwch y dail a chymysgwch mewn mêl, rhag y pesychu a diffyg anadl, a chaethiwed yn y gwddf, a chymerwch dair owns o'u sug pan fyddo y dwfr wedi stopio, ac efe a gliria y grafel allan o'r chwysigen; y maent yn esmwythau ffitiau y fam a'r 'splin. A rhag y peils cnociwch y dail a berwch mewn bloneg, a gwnewch eli o honynt, a rhoddwch ar y lle, a'r dail wedi eu cnocio ar friw newydd, a'i rwymo i fynu am dri diwrnod, nid rhaid i chwi ddim arall wrtho.

Sug y dail hyn wedi ei buro trwy ei ferwi mewn mêl, cymeryd llonaid llwy fwrdd o hono yn y boreu, ddwy neu dair gwaith yn yr wythnos, a'ch gwna yn hollawl iach o'r dropsi, os cymerwch mewn pryd.

---

*Pile wort, neu lygad Ebrill.*

Nid rhaid ond codi dyrnaid o'r dail hyn i fynu, yna cewch weled dull y peils yn eu gwraidd hwynt;

nid wyf yn rhyfeddu dim eu bod wedi eu galw yn ddail y peils, berwch y dail a'r gwraidd, ac yfwch rhag y peils a chwarenau o amgylch y gwddf, yr hyn a elwir yn gyffredin clwyf y brenin; ac os bydd y peils yn allanol, gwnewch eli o'r gwraidd a bloneg, ac irwch y lle âg ef, ac yfwch y ddiod yr un pryd; dyna un dirgelwch eto genyf, os gwisgwch y dail hyn neu'r gwraidd nesaf i'ch croen, y maent yn gwellhau y manwynau er nad yw yn cyfhwrdd â'r lle clwyfus, eto y mae, medd rhai, yn gwella y clwyf; ond hyn a gadarnhaf fi fy hun, mai y dail hyn a menyg y llwynog, yw y ddwy ddeilen oreu a welais i erioed at glwyf y brenin, trwy eu gwneud yn bowltis â bloneg; dyma y moddion â pha rai y gwellais ugeiniau wedi i bob moddion eraill ballu; ond fe allai y gwel rhai yn foddion rhy wael i'w dreio; ond cofia hyn, na wnaeth y Duw doeth lysieuyn erioed yn ofer.

---

*Rhos Mari.*

Y maent yn ddail mor rinweddol ag un sydd yn tyfu, i'w defnyddio'n dufewnol ac yn allanol, o herwydd trwy eu cynesrwydd, y maent yn cysuro holl ranau y corph sydd wedi eu niweidio trwy oerfel, yn enwedig y pen a'r ystumog; y maent yn dda rhag ysgafnder yn y pen, yn cryfhau'r ymenydd, ac yn codi yr ysbrydoedd; ac yn gwellhau y polsi sydd yn attal lleferydd, ac y maent yn gwella côf gwan, ac yn cryfhau synwyrau, ac yn rhagorol dda i'r frest, pan fyddo oerfel wedi setlo ynddi; chwi a ellwch eu powdro, a chymeryd o'r powdr mewn gwin gwyn; neu eu distilio, neu eu berwi mewn dwfr, a'u hyfed ynghyd ag ychydig win gwyn,

neu frandi. Y mae eu blodeu yn helpu y rhai sydd a'u golygon yn ddwl, trwy eu bwyta yn y boreu gyda bara a halen; ac os berwch yn y bore mewn dwfr, a'u hyfed, a cherddded yn ffast ar ol hyny, fe a'ch iachâ o'r clwyf melyn; eu sychu a'u smocio fel tobacco, sydd dda i'r rhai sydd yn poeri llawer; ac yn allanol y maent yn dda i'w berwi i olchi cryd cymalau oer, neu ryw afiechyd arall yn yr aelodau wedi magu drwy oerfel; y mae oil i'w gael o honynt yn siop y Druggist, pa un a wellhâ yr holl ddolur; yr un tufewnol a enwyd, gellwch ei gymeryd o bump i bymtheg tropyn, dair gwaith yn y dydd, fel y byddo yr oed a'r nerth, mewn llwyaid o win gwyn.

---

### *Rheu, neu Ryw y gerddi.*

Eu defnydd mwyaf yw gwellhau merched, yn eu harferiad misol; ond cymered merched beichiogion ofal am gadw oddiwrthynt rhag iddynt, nid yn unig niweidio eu hunain, a gwneud iddynt fwy o niwaid mewn un awr nag a fedr y physygwr goreu yn y wlad feddyginiaethu mewn un flwyddyn. Y maent hefyd yn dda rhag y grafel, i'w hyfed yn yr un modd, wedi eu berwi mewn rhyw beth cyfaddas, ac yfed llonaid cwpan dea o honynt yn y boreu, a hwy a laddant y llyngyr hefyd. Ac os cymerwch eu hadau wedi eu powdro a'u hyfed mewn gwin, hwy a wnant bob peth gwenwynig yn ddiniweid i chwi; ac ychydig ryw a chamomil, wedi eu berwi ynghyd, a'u cymeryd amryw droiau o flaen y ffit o grynu, a'i gwna yn gwbl iach; a'u sug, ynghyd a sug ffanigl a mêl, a bustl ceiliog, yr un faint o bob un, a'i ddiferu i'r llygaid, pan fo'r golwg yn pallu, hyn a wellhaodd lawer.

*Red Rose, neu Rosus Cochion.*

Berwch y rhosus cochion mewn gwin, i'w hyfed, rhag poen yn y pen, ac y maent yn dda i'w berwi mewn gwin coch i'w hyfed yn fynych, i atal y misglwyf, neu ryw beth cyffelyb; yr hadau yn eu canol sydd yn ateb yr un dyben, trwy eu powdro, a'u hyfed mewn gwin; y maent hefyd yn dda rhag clwyf y gwaed, a rhag gwaedu trwy y genau a'r ffroenau, a'r rhai sydd yn gwneud dwfr gwaedlyd; ac y maent hefyd yn cryfhau y galon, yr iau, a'r ysgyfaint, ac yn codi yr ysbrydoedd, ac os ydych yn dueddol o daflu eich bwyd, cymerwch ddail rhosus a dail mintys, a rhoddwch hwynt yn allanol wrth eich hystumog, a hyn a'i tawela yn fuan.

---

*Sage, neu Saigs.*

Mae y dail hyn yn dda i'r iau, trwy eu hyfed yn dea, neu ffordd arall, ac i fagu gwaed iach yn y corph, ac a maent hefyd yn dda rhag y grafel, ac y maent yn atal gwaed mewn pob math o friwiau, trwy eu golchi â hwynt; llonaid llwy fwrdd o honynt sydd dda i ferched, i'w gwneuthur yn ffrwythlon, pan y byddont yn anmhlantadwy, ac hefyd i'w cadw rhag misgario; rhag cyfogi, neu boeri gwaed, cymerwch dair llwyaid o'u sug ynghyd a mêl, hyn a'ch gwellhâ yn fuan; maent yn dda rhag poen mewn pen, ac yn ysgafnhau, ac yn cyfodi y meddwl isel i fynu; cymeryd eu sug mewn dwfr cynes a mêl, sydd dda rhag crygni a phesychu; gellwch hefyd eu defnyddio gyda rhos Mari a gwywydd, a dail llyriad, a mêl, a golchi y genau a'r gwddf â hwynt, pan fyddont yn ddolurus.

*Sage wild, neu Saigs gwylltion, Chwerwlys yr eithin.*

Y maent yn lled debyg i'r lleill, ac nid oes eisiau mo'u gwell i chwysu, ac i ostwng chŵydd yn yr aelodau, trwy wneuthur defnydd o honynt yn dufewnol ac yn allanol, ac y maent yn dda i wellhau y pox, trwy eu mynych yfed, ac y maent yn anffaeledig feddyginiaeth i'r rhai sydd wedi cael codymau, a thori gweithenau oddifewn. Yfwch yn fynych o hono, ac fe'ch gwellhâ yn fuan.

---

*Wood Sorrels, neu Surens y Gôg.*

Maent yn rhagorol o dda i oeri ac i buro'r gwaed, ac yn allanol, ni's gellwch gael eu gwell i ostwng chŵydd coch caled, ac i'w oeri.

---

*Sorrel, neu Surens y Cŵn.*

Y maent yn dda at bob dolur poeth, pan y byddo eisiau ei oeri. Maent yn oeri yr ystumog pan fyddo yn rhy boeth, ac yn dda yn y ffit boeth o'r cryd, ac ymhob peth y byddo eisiau ei oeri, yn dufewnol ac yn allanol; ac y maent yn dda i dori syched, ac i ladd y llyngyr, ac yn cryfhau y galon wan. Berwch eu gwraidd mewn dwfr, ac yfwch o hono rhag y clwyf melyn, ac i dori y gareg, ac i chwalu y grafel; ac os berwch eu blodau mewn gwin gwyn, a'u hyfed, y maent yn dda rhag y clwyf melyn a'r du.

---

*Sanicle, neu Senicl.*

Y maent yn prysur wellhau briwiau newydd, ac yn gwellhau'r postwm, ac yn atal gwaedu yn dufewnol; ac ni welwyd erioed mo'u gwell i ddyn ac

anifail pan fyddo dolur o'r ysgyfaint. Chwi ellwch eu berwi mewn diod fain neu ddwfr, a'u cymysgu â mêl, a'i yfed wrth eich syched, rhag doluriau yn y frest, yr iau, a'r ysgyfaint; y maent yn dda i wellhau'r genau a'r gwddf, trwy eu berwi mewn dwfr, a'u cymysgu â mel, a golchi y dolur âg ef yn fynych; ac y maent yn iachau y rhai sydd yn gwneuthur dwfr gwaedlyd a chymysglyd, ac yn atal rhyddni yn y bol. A chofiwch nad ydynt ddim llai eu heffaith i'r rhai sydd wedi tori eu lleingig, trwy eu hyfed fel ag y dangoswyd, a'u rhoddi yn bowltis wrth y lle; ac y maent yn rhagorol o dda at bob achos lle y bydd eisiau sychu, yn dufewnol ac yn allanol,

---

*Solomon Seal.*

Y maent yn tyfu yn y gerddi, ac yn gyffredin yn adnabyddus yn mhob lle; y mae eu gwraidd yn rhagorol o dda at friwiau ac archollion, a damweiniau allanol, ac i gau y briwiau newydd i fynu, ac i sychu yr hen, trwy eu powdro, a'u rhoddi yn y briwiau; y maent yn atal y terms yn y merched, pan y byddont yn rhy helaeth; ac y maent hefyd yn dda i feibion sydd yn gwaedu o'u ffroenau, neu o'r genau, neu wrth wneuthur dwfr, trwy eu hyfed yn dea gyda siwgr gwyn; ac y maent yn rhagorol o dda trwy eu gwneuthur yn bowltis i gryfhau esgyrn briwedig, neu gymalau gweiniaid. Ac fe'u cafwyd allan yn ddiweddar yn anghydmarol o dda i'w berwi mewn gwin, neu ryw ddiod arall, a'u hyfed gan y rhai sydd wedi tori neu friwio eu hesgyrn; ac nid yw eu heffaith ddim yn llai i'r rhai sydd wedi tori eu lleingig, trwy eu hyfed, a rhoddi'r dail yn blastr ar y lle am naw diwrnod, heb ystyrio ond

can lleied ag a ellir. A'r dwfr wedi ei ddistillio oddiwrthynt, a hardda y croen, ac a dyna liw'r haul, ac a lanhâ bob anharddwch arall; y mae yr Italians yn eu harfer i'r dybenion hyny yn fynych.

---

*Scurvy-grass, neu ddail Ysgyrfi.*

Y maent yn rhagorol dda i buro y gwaed, yr iau, a'r ysplin, trwy gymeryd o'u sug bob bore yn y spring, mewn cwpanaid o ddiod frag; a'u sug hefyd sydd dda i'w roddi yn mhob math o friwiau dyfrllyd a drewedig, ac hefyd i lanhau y croen oddiwrth bob math o anharddwch.

---

*Shepherd's purse, neu bwrs y Bugail.*

Y mae yn gwellhau y clwyf gwaed, ac hefyd yn helpu stopio gwaed mewn briwiau yn dufewnol ac yn allanol, ac yn dda i'r rhai sydd yn gwneuthur dwfr gwaedlyd, ac yn poeri eu gwaed; i stopio terms yn y merched, trwy eu rhwymo wrth eu harddyrnau a gwadnau eu traed; y mae yn gwellhau y clwyf melyn, ac yn iachau tân iddwf, trwy ei wneuthur yn bowltis. A'u sug sydd dda i'w dropio i'r clustiau i'w sychu, ac i dori sŵn yn y pen. Nid yw y dail hyn i'w defnyddio yn dufewnol, ond yn allanol fel y dywedwyd uchod.

---

*Thyme, Teim.*

Y maent yn tyfu yn y gerddi: y maent yn rhagorol o dda, i gryfhau yr ysgyfaint; nid oes mo'u gwell yn tyfu i fendio y pâs ar blant, a diffyg anadl, a'i wneud yn dea i blant, a'i felysu â siwgr candi, a'i roddi iddynt yn ddiod; ac y maent yn lladd y llyng-

yr, ac y maent yn dda i wragedd i'w cymeryd pan fyddont ar ben eu hamser, i gael myned i'w gwelyau yn esmwyth ac yn fuan, ac hefyd y maent yn dyfod a'r ail i lawr; a pheth a ellwch ddymuno yn ychwaneg; ac y maent mor ddiniweid ag y gellwch eu cymeryd y ffordd y mynoch heb ofni perygl wrth eu cymeryd; yn dufewnol y maent yn cryfhau y galon a'r ystumog, ac yn chwalu gwynt.

---

*Tormentile, Triagl y moch.*

Maent yn tyfu mewn lle coediog a chysgodol; fe ddywedir eu bod yn rhagorol o dda i stopio gwaed o'r genau, y ffroenau a'r ymysgaroedd, a'u sug wedi ei gymysgu â venus triagl, a gorwedd i chwysu, sydd yn anffaeledig feddyginiaeth i rai wedi cael gwenwyn, ac hefyd yn nechreu clefyd, a phob math o bla, ac nid yw y dail wedi eu berwi mewn dwfr i'w hyfed yn ddim llai eu heffaith i fendio y pox; mae eu sug yn gwellau y clwyf melyn.

Ac yn mhellach, berwch mewn dwfr yn drwyth gref, ac eistedded y merched sydd yn dueddol i fisgario uwch ben yr ager, a'u traed yn y dwfr mor boeth ag y gallont ei oddef; a phlastr o honynt wedi ei wneuthur â finegr, sydd yn ateb i'r un diben. Ychydig o'u powdr gyda sug dail llyriaid sydd yn lladd llyngyr ar blant; ac y maent yn dda i'r rhai sydd wedi cael codymau a thori eu leingig, trwy eu hyfed a'u rhoddi yn blastr ar y lle. Eu gwraidd a phaladr Yspaen, ac alwm, sydd yn dda i roddi yn nhwll y dant i wellhau y ddanodd; ac y maent yn rhagorol o dda rhag y peils, trwy eu hyfed, a'u gwneud yn eli o honynt gyda bloneg a'i ddefnyddio yn allanol; ac yn dda i'r merched i'w hyfed i ystopio y terms misol.

### *Vervain, neu lysiau yr hudol.*

Maent yn tyfu mewn cloddiau ac ochrau ffyrdd, a thiroedd gwylltion ereill, ac yn blodeuo yn mis Gorphenaf. Y mae y dail yn rhagorol o dda rhag yr holl oerfel a'r afiechyd sydd yn berthynol i'r groth, ac y maent yn iachau y clwyf melyn, a'r dropsi, a'r gowt, ac yn lladd y llyngyr yn y bol; ac y maent yn cryfhau yr ystumog, yr iau, a'r ysplin, ac yn gwellhau y pesychu, a'r diffyg anadl, ac yn dda rhag y grafel, a'r gareg; chwi a ellwch eu distillio, ac yfed y dwfr a ddistilliasoch oddiwrthynt gyda mêl, neu eu berwi, a gwneuthur surop o honynt, a'i gymeryd wrth eich angen.

---

### *Wermod.*

Ni thywynodd yr Haul erioed ar well deilen na hon i wellhau y clwyf melyn, ac y mae yn dda hefyd rhag y grafel, ac i ostwng chwydd yn y bol. Myfi a ddywedaf newydd da i'r tylodion nas gallant dalu i Feddygon, cymerwch flodau y wermod, a rhos Mari, dail drain duon, yr faint o bob un, a berwch hwynt ynghyd, ac ar ddiwedd y berwi, rhoddwch ynddo haner yr un faint o saffrwm, a berwch hwynt am ychydig funudau, a rhoddwch ynddo fêl, neu siwgr candi, a photelwch ef, a chymerwch o hono lonaid cwpan dea nos a bore, a hyn a geidw eich corph mewn perffaith iechyd. Y mae genyf un peth eto i'r rhai sydd arferol o ysgrifenu, cymerwch o sug wermod, a rhoddwch yn eich inc, ac ni all llygod mân na Ffrengig gnoi byth mo'r papur; y rhai sydd ganddynt lawer o ddillad a'r pryfed yn eu bwyta, rhoddwch ddail y wermod yn eu plith, a hyn

a'u ceidw rhag pryfed. Ni ddywedaf ddim yn ychwaneg am y wermod, y mae hir ddydd haf yn rhy fychan i ddywedyd yn gyflawn am eu rhinwedd.

---

*White Lilly, neu y Lili wen.*

Maent yn tyfu mewn gerddi; berwch hwynt mewn gwin gwyn, ac yfwch o hono rhag gwenwyn; a chymeryd eu sug yn lle dwfr i dylino torth haidd, a'i chrasu a'i bwyta sydd dda rhag y dropsi; eli o'r gwraidd a'r bloneg sydd yn iachau crach drwg yn y pen, ac yn asio gewyn pan fyddo wedi tori; y gwraidd wedi eu berwi mewn gwin gwyn sydd yn cynnorthwyo i wraig fyned i'w gwely, ac yn dyfod a'r ail i lawr; y gwraidd wedi eu rhostio mewn lludw poeth, ac wedi eu tymheru â bloneg sydd yn blastr anffaeledig i dori chwydd, neu ryw beth dolurus arall; a'r eli a wneir o honynt gyda bloneg a chŵyr melyn, a iachâ losg tân.

# BRITISH HERBAL,

NEU

# LYSIEULYFR BRYTANAIDD

## Y DRYDEDD RAN,

YN CYNWYS

## AMRYWIOL LYSIAU MEDDYGINIAETHOL,

A dangosiad eglur, pa Blaned sydd yn rheoli pob un o'r amrywiol Lysiau.

Ynghyd a Thabl i ddangos pa Blaned sydd yn rheoli ar bob awr yn y dydd; a thrwy y cyfarwyddyd hwn gellwch dori y llysiau yn yr amser ag y bo y planedau yn rheoli arnynt.

Hefyd amrywiol Gynghorion, Eliau a Phlasterau.

Ynghyd ag amrywiol enwau ar y llysiau.

---

### *Wild Carrots, Moron Gwylltion.*

Y maent yn tyfu yn wylltion, ac yn gyffredin trwy y gwledydd hyn ar ochrau y caeau, ar dir gwyllt yn lled gyffredin, ac yn blodeuo ac yn hadu yn niwedd yr haf; ac y maent yn dra rhinweddol rhag y grafel a'r gareg, ac yn dda i dori ac i chwalu gwynt, ac i symud pigiadau o'r ystlysau; ac y maent yn dda i ddyfod a'r cyrsiau misol i lawr, ac i wellhau y dropsi, a phob rhyw chwydd yn y bol; ac os bydd eisiau chwalu gwynt; y maent hefyd yn tori y colic, ac yn gostwng, neu yn tawelu gwynt, neu ffitiau y fam; ac y mae eu had yn dda i'w cymeryd mewn gwin; ac hefyd gan y rhai sydd yn anmhlantadwy, os na byddant dros ben eu hamser; yn allanol y mae y dail, ynghyd a mêl, yn gwellhau hên friwiau drewedig a dyfrllyd. Mi a allwn benderfynu mai yr hâd yw y rhan oreu o'r llysieuyn

hwn; gellwch eu berwi mewn dwfr a mêl, ac ychydig win, ac yfwch yn helaeth o hono yn glaear ac wrth eich angen.

---

### *Briony, Bloneg y ddaear.*

Y maent yn tyfu ar fryniau, neu diroedd uchel, a than ochrau cloddiau a'u gwraidd yn bur ddyfnion, ac yn blodeuo yn mis Gorpenaf, ac yn Awst; y mae y dail yn rhinweddol rhag doluriau yn y pen, a phen ysgafnder a ffitiau, trwy eu bod yn purgio llawer o *humors* o'r pen, ac hefyd yn gwellhau y cymalau a'r gewynau, am hyny y maent yn rhinweddol rhag y polsi, conffylsiwn, a'r cylymau gwythi, ac hefyd yn dda rhag y dropsi a'r grafel, trwy agor atalfeydd y 'splin, a meddalhau ei chaledrwydd; ac y mae eu gwraidd, wedi eu powdro, a'u cymysgu â mêl a'i gymeryd, yn glanhau y frest oddiwrth y phlegm, ac yn iachau hên besychu sydd a diffyg anadl yn ei ganlyn; ac y mae yn gweithio y corph yn bur brysur, am hyny cynghoraf yr angall ei adael yn llonydd; un dram sydd ddigon o'r gwreiddyn i'w gymeryd ar unwaith, mewn gwin wrth fyned i'r gwely, un neu ddwy waith yn yr wythnos; gellwch eu defnyddio yn allanol trwy eu berwi mewn dwfr, a golchi y croen âg ef yn brin, wrth fyned i'r gwely, rhag y gwahanglwyf, a phob rhyw grach dyfrllyd, ac anharddwch ar y croen.

---

### *Ash Tree, Onen.*

Berwch y dail ifaingc mewn gwin, ac yfwch y gwin, a rhoddwch y dail yn allanol ar y lle a frathwyd gan nadrodd, a phob rhyw ymlusgiaid gwenwynig arall; ychydig o'r dwfr a ddistilir oddiwrthynt

sydd yn dda i'w gymeryd bob boreu, gan y rhai sydd dueddol i'r dropsi, ac hefyd i'r rhai sydd yn dueddol i fyned yn rhy dew: y mae y dail, gwedi eu berwi mewn gwin, yn gweithio yn erbyn y grafel a'r clwy melyn; pan nad alloch gael y dail, gwnewch ddefnydd o'r rhisg yn eu lle.

---

### *Arsmart, y Benboeth.*

Y maent yn tyfu mewn lleoedd gwlybion, ffosydd ac amrywiol leoedd o'r cyffelyb, y rhai sydd yn sych yn yr haf, yn gyffredin. Y mae sug y dail, a'i rwbio ar chŵydd oer, yn ei wellhau yn fuan;—dàl ychydig o'r gwreiddyn ar y dant a dỳr y ddannodd; a theflwch y dail ar lawr yr ystafell a hwy a yrant y chwain ymaith yn fuan; ac os rhowch lonaid llaw o'r dail o dan y cyfrwy wrth farchogaeth, fe a drafaelia y march yn llawer gwell; y mae dau fath o'r dail hyn, sef, poethion ac oerion, ond y poethion yw y rhai hyn, gellwch eu hadnabod wrth eu treio ar eich tafod; am eu bod yn boeth.

---

### *Black Hellebore, Crafangc yr Arth.*

Y maent yn tyfu mewn gerddi. Mae y dail hyn yn lled enbyd i gymeryd llawer o honynt yn dufewnol; ond os digwydd i chwi niweidio eich hunain drwy gymeryd gormod o honynt, y feddyginiaeth yw cymeryd llaeth geifr, os gellir ei gael, onid ê cymerwch y nesaf i'ch llaw. Mae ei gwraidd yn rhagorol dda yn erbyn pob math o ddoluriau sydd yn tarddu oddiwrth y melancoli, a gwallgofrwydd, y ffitiau, a'r gwahanglwyf, a'r ddau glwyf, y melyn a'r du, a'r conffylsiwns, ac y maent yn rhinweddol i ddyfod a'r terms i lawr. Yn allanol y maent yn

iachau briwiau, trwy roddi y powdr arnynt. 20 grain am ben 10 o cinnamon sydd ddigon i'w gymmeryd ar unwaith.

---

*Polypody of the Oak, Rhedyn y Dderwen.*

Y maent yn tyfu ar amrywiol goed, ond y maent yn cyfrif y rhai sydd yn tyfu ar y dderwen yn well; maent yn wastadol yn leision, gellwch eu casglu pan y byddo angen am danynt. Maent yn dda yn erbyn y cryd, yn enwedig os cymerir mewn gleision maidd, y maent hefyd yn dda i feddalhau y splîn a'r colic, y maent yn ddiniweid, gellir cymeryd dram yn y boreu mewn mêl a dwfr, i weithio y corph yn raddol; mae y dail a'r gwraidd wedi eu berwi yn yn dda rhag pesychu a diffyg anadl, gwichian yn y gwddf; rhaid rhoddi ynddo ddigon o siwgr candi yn helaeth; powdr o'r gwraidd wedi ei gymysgu â mêl, a'i roddi ar gymalau a fyddo wedi eu streifio, sydd yn help mawr iddynt.

---

*Queen of the Meadows, Brenhines y Weirglodd.*

Maent yn tyfu mewn gweirgloddiau gwlybion yn fwyaf cyffredin. Y maent yn blodeuo holl fisoedd yr haf. Eu defnydd mwyaf ydyw stopio pob math o waedu, sef y clwyf gwaed, gwaedu o'r genau a'r ffroenau, cyrsiau arferol a'r gwynion hefyd; fe ddywedir eu bod yn hel ymaith y cryd, a'u bod yn llawenhau y galon; ac fe ddywedir eu bod yn feddyginiaeth anffaeledig i'r colic; y ffordd i'w cymeryd rhag y doluriau uchod, ydyw eu berwi mewn gwin coch, a'u hyfed.

*Self-heal, Llysiau'r Cryman.*

Y maent i'w cael mewn caeau a lleoedd coediog trwy'r gwledydd. Y maent yn addas i'w berwi megis diod ddail, a' hyfed gan y rhai sydd a briwiau arnynt, pa un bynag ai yn dufewnol ai yn allanol y byddont; ac y maent yn dda i'r rhai sydd wedi briwio oddi mewn, trwy godymau neu gyfryw bethau, ac i'r rhai sydd yn piso neu boeri gwaed o herwydd sigdod tufewnol; yn allanol maent yn dda mewn briwiau hên a newydd, y mae eu sug yn dda i rwbio y talcen rhag poen mewn pen, ac y mae eu sug yn dda i olchi y genau a'r gwddf, wedi ei gymysgu â mêl.

---

*Ivy, Eiddew.*

Fe ddywedir fod un dram o'r blodeu i'w hyfed ddwy waith yn y dydd mewn gwin coch, yn stopio rhyddni a'r clwy gwaed; ac fe ddywedir fod y grawn melynion yn dda yn erbyn y clwy melyn, ac os cymerwch o honynt cyn yfed cwrw neu licar hwy a'ch cadwant rhag meddwi, ac hefyd rhag poeri gwaed. Nid wyf yn canmol eu cymeryd yn dufewnol, am eu bod yn ddrwg i'r nerves a'r gewynau; y maent yn eu cryfhau, os cymerwch hwynt yn allanol, ac hefyd y mae eu sug yn iachau briwiau a llosg tân; y mae sug y dail, os gwnewch ei snuffio i'r ffroenau, yn purgio'r pen a'r ymenydd, a'r rheum sydd yn cochi y llygadau; eu sug sydd yn dda i'w roddi yn y glust pan bo'n dyfrio; a dywedir, os gwna'r rhai sydd yn cael eu blino gan y splîn, yfed eu diod gyffredin o gwpan wedi ei gwneud o bren eiddew, y byddant lawer iawn gwell; ond rhaid i'r ddiod sefyll ychydig yn y cwpan cyn ei yfed.

*Service Tree, Pren Criafol.*

Y mae ffrwyth y pren hwn pan y byddont yn addfed yn dda i'w berwi yn ddiod rhag rhyddni a chlwyf y gwaed, a'i gymeryd ynghyd a gwin coch, gellwch eu hyfed yn helaeth; hefyd eu berwi mewn dwfr, a golchi yr aelodau clwyfus âg ef. Nid oes ond ychydig ganmoliaeth i'r dail hyn, ond fe allent fod yn dda er hyny.

---

*Strawberries, Mefus.*

Y mae y dail hyn yn oerion yn eu natur; os bydd eisiau oeri yr iau neu yr ysgyfaint, gellwch ei wneud drwy gymeryd y mefus a'u bwyta, y maent yn oeri y gwaed, yr ysplin, a'r cylla, ac yn tori syched, ac yn atal clwyf gwaed, a'r cyrsiau misol; ac y mae y dwfr a ddistillir o honynt yn dda i oeri y llygadau ac i wisgo'r bysen.

---

*Acrimony, Llysiau'r Dryw.*

Y mae y dail hyn yn dda i wneuthur eli o honynt, i iachau y gout; wrth eu cymeryd yn dufewnol y maent yn iachau briwiau oddi mewn, ac y maent yn iachau y rhai sydd yn gwneud dwfr gwaedlyd, cliriant eu dwfr yn fuan; y maent yn dda rhag y grafel, ac y maent yn un o'r dail goreu rhag y cancer, trwy eu hyfed yn fynych, a'u rhoddi yn allanol ar y lle; ac ni ellwch gael eu gwell i gryfhau yr iau ac i'w glanhau o'i holl ffaeledd.

---

*Barberry, Pren melyn.*

Y rhisg isaf o'r pren, wedi ei ferwi, ac yfed haner peint bob bore oddiarno, sydd yn iachau y corph

o'r afiechyd, a'r anmhurdeb sydd yn y gwaed, sef pendduynod, scurfy, ymgrafu, a phob ryw gyffelyb bethau, ynghyd a'r clwyf melyn; gellwch wneud defnydd o hono i oeri y gwaed a'r iau, ac hefyd y clwyf gwaed; y maent yn ychwanegu yr ystumog at fwyd pan fyddo wedi colli; os rhag y clwyf gwaed, cymerwch y rhisg, a berwch hwynt mewn gwin coch, ac yfwch o hono yn fynych.

---

*Small Centaury, Bustl y ddaear.*

Y mae y dail hyn yn agor atalfeydd yr iau a'r bustl, a'r ysplin, ac yn gwellhau y clwyf melyn a'r dropsi, ac y mae yn sicr eu bod yn lladd y llyngyr yn y bol; mae un dram o'r dail wedi eu powdro mewn gwin yn aml, yn gwellhau brathiadau neidr; ac y mae y sug, os dyferir ef i'r llygaid, yn eu clirio, ac yn cryfhau y golwg.

---

*Adder's tongue, Tafod y neidr.*

Os yfir sug y dail hyn yn fynych, y maent yn feddyginiaeth at bob math o friwiau mewn brest a'r ymasgaroedd, neu ryw barthau tufewnol arall o'r corph; y maent yn cael eu rhoddi yn llwyddiannus i'r rhai sydd yn dueddol i daflu i fynu o'r cylla, neu waedu o'r genau neu y ffroenau; y mae eu sug, a'i gymeryd yn y dwfr a ddistillir oddiar impiau derw, yn fynych, yn rhagorol dda i'r rhai ag y mae y cyrsiau misol yn dyfod yn rhy helaeth; ac yn allanol gellwch eu defnyddio at bob math o friwiau newydd, trwy eu golchi â'u sug.

---

*Willow-tree, Helyg.*

Y dail hyn a ddefnyddir i stopio gwaedu, mewn briwiau, gwna y rhisg neu'r hâd y tro, y maent yn

stopio cyfogi yn yr un modd, ac y maent yn stopio yr *humour* hallt sydd yn dropio i fawr ar y sgyfaint. Yr un peth sydd yn magu consumsions yn aml; ac yn allanol, lludw o'r rhisg, wedi ei gymysgu â finegr, sydd yn tynu defaid oddiar y dwylaw neu ryw fan arall, a'r cyrn oddiar y traed, drwy eu rhoddi ar y lle, y ffordd i'w cymeryd yn dufewnol ydyw eu berwi mewn gwin coch a'u hyfed.

---

*Smallage.*

Y maent yn tyfu o honynt eu hunain mewn tiroedd lled wlybion, ond hwy a ffynant yn burion mewn gerddi, os plennir; eu rhinwedd yw agor atalfeydd yr iau a'r ysplîn, ac yn puro'r gwaed; y maent yn helpu rhai sydd yn ffaelu gwneuthur dwfr; ac fe ddywedir eu bod yn dda rhag y clwyf melyn; y ffordd oreu i'w cymeryd yn dufewnol, ydyw, tynu eu sug a'i ferwi ynghyd â siwgr, a'u hyfed, i iachau y doluriau uchod; yn allanol y mae eu sug, ynghyda *honey of roses*, a golchi y genau a'r gwddf âg ef, yn fynych yn iachau yn fuan.

---

*Savine, Ffenigl.*

Y maent yn tyfu yn y gerddi, ac yn leision trwy y gauaf; os gwnewch eu sychu a'u powdro, a'u cymysgu â mêl, a'u rhoddi mewn hen friwiau pan y bo eisiau eu glanhau, ac yn methu ei wneud â dim arall; ond fe a'i cadwant rhag croeni; ac y mae yn dda i dori nafod, *king's evil*, trwy eu rhoddi ar y lle, a'i daenu ar ledr, a'i roddi ar y bogail, y mae yn lladd y llynnyr sydd yn y bol: ac y maent yn gwellhau y crafu a chrach yn mhob rhan ar y

corph ; a chwi a ellwch yn llwyddiannus ddefnyddio yr eli ar friwiau sydd yn tarddu oddiar y pox. Hyn am eu rhinwedd yn allanol, ond dim am danynt yn dufewnol, o herwydd eu bod yn rhy beryglus i'w cymeryd.

---

*Onions, Wynwyn.*

Y maent yn lladd llyngyr ar blant, eu rhoddi yn ngwlych tros nos, ag iddynt yfed peth o'r dwfr yn y boreu cyn tori eu newyn, a'u rhostio yn y lludw poeth, a'u cymysgu â mêl, a'u bwyta, sydd yn tori pesychu, ac yn codi y phlegms i fynu yn fwy esmwyth; yn allanol y maent yn dda, hyny yw, eu sug, i wellhau briwiau llosgi neu scaldiad, neu losgi â phowdr; eu defnyddio yn nghyd a finegr sydd yn glanhau'r croen oddiwrth spots a phob anharddwch arall; dropio eu sug i'r clustiau sydd yn tori y boen a'r sŵn ynddynt yn fuan.

---

*Oak, Derwen.*

Y rhisg isaf sydd yn cael eu defnyddio yn gyffredin rhag poeri gwaed a'r clwyf gwaed; y mae powdr afalau derw, a'i gymeryd mewn gwin coch, yn atal pob math o waedu ar fab a merch; y maent yn effeithiol i atal y terms ar y merched.

---

*Mullein, Surcyn y melinydd.*

Y maent yn tyfu mewn cloddiau ac ochrau y ffyrdd yn gyffredin; ychydig o'r gwreiddyn wedi ei bowdro, a'i gymeryd mewn gwin coch, sydd yn atal rhyddni yn y bol, ac yn ei dawelu; a'u berwi mewn dwfr, a'i yfed, sy'n dda i'r rhai tueddol i'r

cylymau gwythi a'r confylsions, ac i'r rhai sydd yn cael eu blino gan hen besychu; golchi y genau âg ef sydd yn dofi y ddannodd ; yn allanol, y dail hyn, wedi eu berwi gyda sage a chamomile, a golchi y gewynau â hwynt, sy'n eu hiachau; tair wns o'r dwfr a ddistillir o honynt, a'i gymeryd hwyr a bore am hir amser, sydd yn iachau y gowt; ac y mae eu gwraidd wedi eu powdro, a'u rhwbio ar ddant pan b'o eisiau ei dynu yn ei wneud yn haws i'w dynu.

---

*Mosses, Mwsogl.*

Y mae mwsogl y ddaear yn dda i'w berwi mewn gwin coch, a'i yfed rhag y grafel, ac yn tori a gwasgaru y gareg fel y gellir cael ymadael a hi wrth wneud dwfr; y mwsogl sydd yn tyfu ar dderw sydd yn rhwymo y corff ac yn atal rhyddni a gwaedu yn mhob rhan o'r corff; dywedir eu bod o'r un natur â'r coed y byddont yn tyfu arnynt; y mae y rhai a helioch oddiar y dderwen, a'u berwi mewn dwfr, a'u rhoddi i'r merched, yn atal y cyrsiau misol pan y byddont yn rhy helaeth; y maent hefyd yn atal y cyfog a'r eigiau, ond eu berwi a'u hyfed; ac fe ddywedir eu bod yn cysuro y galon ; cymeryd eu powdr yn fynych ar ddiod frag a wellhâ y dropsi.

---

*St. John's wort, Y Gantwll.*

Nid oes eu gwell yn tyfu, wedi eu berwi a'i wneud yn ddiod, a'i yfed, gan y rhai sydd a briwiau arnynt, pa un bynag ai yn dufewnol ai yn allanol y bo'nt; eu cymeryd yn ddiod sy'n feddyginiaeth hollol i friwiau; eu hadau sydd dda, os yfir oddi arnynt am ddeugain niwrnod ar ol eu gilydd, rhag y ffitiau a'r polsi.

### *House-leek, Llysiau pen tai.*

Y mae posel o'u sug yn dda rhag ffitiau poethion o'r cryd, y maent yn oeri ac yn puro y gwaed, ac yn disychedu y sychedig; y mae eu sug yn dda, os diferir ef i lygaid cochion, i'w hoeri; yn allanol y maent yn dda i wneud eli o honynt i wellhau tân eiddaw a llosg tân, ac y mae eu sug yn tynu ymaith gyrn a defaid oddiar y traed a'r dwylaw; curwch y dail, a rhoddwch hwynt ar goryn y pen, a hwy a ataliant y gwaedlyn yn fuan; y dwfr a ddistillir o honynt sy'n dda i'r holl bethau tufewnol a enwyd; os rhwbiwch y dail ar le wedi ei bigo gan wenyn neu gacwn, fe dderfydd y boen yn fuan.

---

### *Hops.*

Gwaith y dail hyn yw agor atalfeydd y 'splin a'r iau, i hel ymaith y grafel, i buro'r gwaed, ac i ryddhau y bol, pan y byddo yn rhwym; ni waeth pa un ai y gwyllt ai y dôf o honynt; y maent yn gwellhau yr ymgrafu, crach, a phob rhyw doriadau allan trwy y corph; ac y maent yn gwellhau y French pox; y maent yn dda i'r rhai sy wedi cymeryd gwenwyn:—haner dram o'r hadau yn bowdr, a'u cymeryd mewn diod frag yn y bore, a ladd y llyngyr.

---

### *Hawthorn, Draenen wen.*

Y mae yr had a gewch yn y grawn, neu y clapiau sy'n tyfu arnynt, wedi eu powdro, a'u cymeryd mewn gwin gwyn, yn rhagorol o dda rhag y grafel, y gareg a'r dropsi; yr hadau, wedi eu glanhau, a'u berwi mewn gwin, a'i yfed, sy'n tori poen oddi mewn; os gwlychwch gadachau poethion yn y dwfr

a ddistillir o honynt, a'i roddi lle byddo draen ynddo, ond ei newid amrywiol weithiau, yna gwelwch y ddraenen yn rhoddi meddyginiaeth i'w phigiad ei hun.

*Groundsel, y Ben felen fanyw.*

Nid oes eisiau mo'u gwell at bob math o ddoluriau wedi eu magu trwy wres ac eisiau eu hoeri; os bydd y cylla yn afiach, hwy a godant gyfog, ac os bydd y cylla yn iach, hwy a weithiant i lawr yn raddol; eu sug sydd yn dda i'w cymeryd mewn gwin i wellhau y ffitiau a'r clwyf melyn, hefyd i'r rhai sy'n ffaelu gwneud dwfr; y maent yn dda i wneud powltis i'w roddi ar fronau merched pan y byddont yn chwyddo ac yn cochi; curo y dail ynghyd a halen, a'u rhoddi ar chwarenau, hwy a chwalant; gellwch gymeryd y dwfr a ddistillir o honynt yn dufewnol rhag y doluriau a enwyd uchod, yn ol eich rheswm.

---

*Golden Rod, y Wialen euraidd.*

Y maent yn tyfu mewn lle agored, yn mysg coed yn gyffredin. Y mae y ddeilen hon yn cael ei chyfrif yn anghydmarol rhag y gareg a'r grafel, ac i wneud dwfr mewn helaethrwydd; dywedir ei bod yn atal gwaed o'r holl ranau tufewnol; y mae yn rhagorol o dda mewn diod ddail, i wellhau briwiau yn allanol ac yn dufewnol; ac os berwch y dail hyn gyda sage, a thoddi ynddo ychydig alwm, a golchi eich genau a'ch dannedd âg ef pan y byddont, yn rhydd, a hyny a'u gwnant yn sound yn fuan.

---

*Garlick, Garlleg.*

Y maent yn dda rhag brathiad ci drwg, a phob

rhyw ymlusgiaid gwenwynig ereill; ac y maent yn lladd llyngyr mewn plant; ac y maent yn dda i dori, i godi, ac i daflu y fflems mwyaf gwydn; ac y maent yn dda os bydd un gwedi ffieiddio ei hunan wrth yfed dwfr drwg, neu fwyta dail gwenwynig, megis cegyd, neu'r cyfryw bethau peryglus o un rhyw. Defnyddiwch hwynt yn helaeth yn allanol; ond yn dufewnol cymerwch hwynt yn lled brin. Nid yw yn ganmoladwy i'r rhai sydd a natur melancoli arnynt.

---

*Fumitory, Mwsogl y ddaear.*

Y mae y dail hyn yn dda i agor atalfeydd, yr iau, a'r ysplin, ac yn puro y gwaed, ac hefyd yn gwellhau y clwyf melyn; ac os cymerir y powdr o'r dail sychion, am hir amser, y maent yn gwellhau y melancoli. Eu sug, trwy ei ddiferu i'r llygaid, sydd yn eu gwellhau pan ag y b'ont yn gochion ag eisiau eu hoeri. Sug y dail hyn a dail tafol, a'r un faint o vinegr, a golchi y lle âg ef, sydd yn iachau pob math o grach.

---

*Elicampane, March Alarch.*

Y mae y dail hyn yn iachau ffaeledd y frest, os o oerfel y magodd, ac y maent yn tori y cnoi yn y frest, a'r pigiadau sydd yn yr ystlysau, y rhai sydd yn codi oddiar yr ysblin; ac y maent yn gwellhau y pesychu, diffyg anadl, a gwichian yn y frest; y maent yn atal cerddediad brathiadau nadrodd. Y mae y gwraidd a'r dail gwedi eu curo, a'u rhoddi yngwlych mewn cwrw, ac yfed o hono bob boreu, yn glanhau, ac yn cryfhau, ac yn sirioli y llygaid yn magorol; a'r dail, gwedi eu berwi mewn gwin, a'u

hyfed, sydd yn hel ymaith bob math o lyngyr o'r corff; ac y maent yn dda i'r rhai sydd yn poeri gwaed; y gwreiddyn wedi ei guro a'i ferwi mewn vinegr, a'i wneuthur yn eli, ynghyd a saim traed defaid, sydd yn gwellau yr ymgrafu ar hên ac ieuangc; ac os berwir y dail a'r gwraidd mewn dwfr a vinegr, a golchi y lle âg ef, etyb yr un dyben, ac y mae yn beth parotach.

---

*Dove's foot, y Goes goch.*

Y mae y dail hyn gwedi eu profi yn dda i dor y gwynt a'r poenus ofidiau sy'n berthynol iddo: a i dori y gareg, ac i chwalu y grafel. Y mae hi yn rhagorol o dda; hyn a brofais yn aml fy hun. Y mae llawer yn eu cnocio a'u rhoddi ar friwiau ne wydd, a hyn a'u gwellhâ yn fuan; y mae y dail y dda, wedi eu berwi a'u hyfed yn barhaus gan y rha sydd wedi tori eu llengig; nid yn aml y cewch e gwell at y dolur hwn.

---

*Daisies, Llygaid y dydd.*

Y mae y rhai mawr o honynt yn ddail briwia da, yn dda i'w gwneud yn eli ac i'w hyfed yn ddic at bob math o friwiau; a'r rhai bychain, sydd y tyfu yn y caeau, sydd yn bur dda yn noluriau frest, pan b'o arni eisiau ei hoeri; yn allanol y d yn bowltis, sydd yn meddalhau chŵydd coch chaled; a'i sug sydd yn dda i'w ddiferu i'r llyga clwyfus; ac y mae y dail, gwedi eu cnocio a'u rh ar y lle, yn chwalu chwarenod, yn mha le bynag byddont, ac yn llwyddianus y gwneir eli o hony at friwiau.

### *Crow-food, Crafangc y frân.*

Nid yw y dail hyn i'w cymeryd yn dufewnol, ond i'w defnyddio yn allanol, a'u cymysgu â mwstard, a hwy a blasdrant, yn gystal a dim a ellwch gael, ac yn fwy diberygl.

---

### *Costmary, Tafod yr oen.*

Y mae y ddeilen hon yn gyffredin, ac yn hawdd ei chael, ac yn rhagorol o dda rhag y grafel, ac yn meddalhau caledrwydd yr ysplin, ac yn cryfhau yr iau a'r holl ranau tufewnol, ac yn dda rhag ffitiau o'r cryd; y mae eu hadau yn cael eu rhoi, yn llwyddiannus, i blant yn erbyn y llyngyr, y mae y dail hyn a thafod y neidr, ac olew, yn gwneud eli da at friwiau.

---

### *Hemlock, Cegyd.*

Yr wyf yn eich rhybuddio yn flaenorol nâ wnewch dim defnydd o hon yn dufewnol; ond yn allanol, y maent yn dda mewn powltis i ostwng chwŷdd, ac yn ddigon diberygl ar bob rhan o'r corph, ond yn unig ar y dirgeloedd, cadwch hi oddi yno: ond os bydd angenrheidrwydd yn galw, sef y pox, peidiwch a'i ddal ond lleied ag y galloch; i dynu y bysen oddi ar y llygad, cymerwch ychydig o'r dail hyn, a'r un faint o bay salt, a'u cnócio yn nghyd, a'u rhoi wrth arddwrn gwrthwyneb i'r llygad dolur, a'i wisgo a'i newid yn awr ac yn y man, hyn a dyna y bysen, a'i newid bob 24 o oriau: os bwyty neb y dail mewn camgymeriad yn lle parsly, y feddyginiaeth yw yfed y gwin goreu, yn helaeth.

***Peony, Blodau y brenin, neu Rosyn y mynydd.***

Y mae y gwraidd hyn yn annghydmarol o dda i atal cyfog o bob math, yn fuan, y tro cyntaf neu yr ail; a chymerer y powdr o'r gwraidd mewn rhyw beth cyfaddas; ac y maent yn iachau y ffitiau, os cymerir hwynt mewn pryd.

---

Fy amcan yn bresenol yw dangos pa blaned sydd yn rheoli pob un o'r llysiau a grybwyllir am danynt yn y llyfr hwn, fel y gallo y darllenydd trwy y cyfarwyddyd a roddir yma, adnabod o dan ba blaned y mae pob llysieuyn yn tyfu, fel y galloch ddyfod a'r feddyginiaeth yn agos at y clwyf; os bydd eich dolur yn gyndyn i wellhau, cesglwch y dail sydd yn gyfaddas, wrth y cyfarwyddyd yma, torwch y dail pan b'o y planedau yn rheoli arnynt fel y canlyn; mi a enwaf y dail a'r planedau sydd yn rheoli arnynt yn gyferbynio â hwynt yn y dull canlynol:—

Arach-wild, Venus
Adder's tongue, Moon
Acrimony, Jupiter
Angelica, Sun
Ash-tree, Sun
Arsmart, Mars
Balm, Jupiter
Barberry, Mars
Bay-tree, Sun
Betony, Jupiter
Blue-bottles Saturn
Briony, Mars
Burdock, Venus
Bugles, Venus
Bare-foot, Mars
Broom, Mars
Buck's-horn Saturn
Camomile, Sun
Celandine, Sun
Comfrey, Saturn
Carrots, Mercury
Colt's-foot, Venus
Crow-foot, Mars
Dandelion, Jupiter
Dwarf-elder, Venus
Dove's-foot, Moon

Daisies, Venus
Eringo, Venus
Eye-bright, Sun
Elicampane, Mercury
Fern, Mercury
Water-fern, Saturn
Fennel, Mercury
Fox-glove, Venus
Fumitory, Saturn
Golden-rod, Venus
Gooseberry-bush, Venus
Ground-ivy, Venus
Hemlock, Saturn
Helebore, Saturn
Hysop, Jupiter
Hops, Mars
House-leek, Jupiter
Honey-suckle, Mercury
Honey-thistle, Mars
Hawthorn, Mars
St. John's-wort, Sun
Ivy, Saturn
White-lillies, Moon
Maiden-hair, Mercury
Mallows, Venus
Marygold, Sun
Mint, Venus
Mother-wort, Venus
Mouse-ear, Moon
Mug-wort, Venus
Mulberry, Mercury
Mullein, Saturn
Mustard, Mars
Mosses, Saturn
Nettles, Mars
Oak, Jupiter
Onions, Mars
Parsley, Mars
Peony, Sun
Pelitory of the wall, Mer.
Pill-wort, Mars
Polypody, Saturn
Queen of the meadows, Venus
Red-roses, Jupiter
Rosemary, Mars
Garden-rue, Sun
Sage, Jupiter
Sage-wild, Venus
Solomon's-seal, Saturn
Sanicle, Venus
Savine, Mars
Scurvy-grass, Jupiter
Self-heal, Venus
Service-tree, Saturn
Smallage, Mercury
Sorrel, Venus
Wood-sorrel, Venus
Strawberries, Venus
Shepherd's-purse, Sat.
Tansy, Venus
Wild-tansy, Venus
Thyme, Venus
Tormentile, Sun
Vervain, Venus
Willow-tree, Moon
Wormwood, Mars

# TABL O ORIAU Y PLANEDAU,

*Am bob dydd yn yr Wythnos.*

| Sul. | | Llun. | | Maw. | | Mer. | | Iau. | | Gwe. | | Sad. | |
|---|---|---|---|---|---|---|---|---|---|---|---|---|---|
| *Pl.* | *O.* | *Pl.* | *O.* | *Pl.* | *O.* | *Pl.* | *O.* | *Pl.* | *O.* | *Pl.* | *O.* | *Pl.* | *O.* |
| ☉ | 1 | ☽ | 1 | ♂ | 1 | ☿ | 1 | ☿ | 1 | ♀ | 1 | ♄ | 1 |
| ♀ | 2 | ♄ | 2 | ⊙ | 2 | ☽ | 2 | ♂ | 2 | ☿ | 2 | ♃ | 2 |
| ☿ | 3 | ♃ | 3 | ♀ | 3 | ♄ | 3 | ◎ | 3 | ☽ | 3 | ♂ | 3 |
| ☽ | 4 | ♂ | 4 | ☿ | 4 | ♃ | 4 | ♀ | 4 | ♄ | 4 | ⊙ | 4 |
| ♄ | 5 | ☉ | 5 | ☽ | 5 | ♂ | 5 | ☿ | 5 | ♃ | 5 | ♀ | 5 |
| ♃ | 6 | ♀ | 6 | ♄ | 6 | ⊙ | 6 | ☽ | 6 | ♂ | 6 | ☿ | 6 |
| ♂ | 7 | ☿ | 7 | ♃ | 7 | ♀ | 7 | ♄ | 7 | ◎ | 7 | ☽ | 7 |
| ☉ | 8 | ☽ | 8 | ♂ | 8 | ☿ | 8 | ♃ | 8 | ♀ | 8 | ♄ | 8 |
| ♀ | 9 | ♄ | 9 | ◎ | 9 | ☽ | 9 | ♂ | 9 | ☿ | 9 | ♃ | 9 |
| ☿ | 10 | ♃ | 10 | ♀ | 10 | ♄ | 10 | ◎ | 10 | ☽ | 10 | ♂ | 10 |
| ☽ | 11 | ♂ | 11 | ☿ | 11 | ♃ | 11 | ♀ | 11 | ♀ | 11 | ⊙ | 11 |
| ♄ | 12 | ☉ | 12 | ☽ | 12 | ♂ | 12 | ☿ | 12 | ♃ | 12 | * | 12 |
| ♃ | 13 | ♀ | 13 | ♄ | 13 | ☉ | 13 | ☽ | 13 | ♂ | 13 | ☿ | 13 |
| ♂ | 14 | ☿ | 14 | ♃ | 14 | ♀ | 14 | ♀ | 14 | ◎ | 14 | ☽ | 14 |
| ☉ | 15 | ☽ | 15 | ♂ | 15 | ☿ | 15 | ♃ | 15 | ♀ | 15 | ♄ | 15 |
| ♀ | 16 | ♄ | 16 | ⊙ | 16 | ☽ | 26 | ♂ | 16 | ☿ | 16 | ♃ | 16 |
| ☿ | 17 | ♃ | 17 | ♀ | 17 | ♄ | 17 | ⊙ | 17 | ☽ | 17 | ♂ | 17 |
| ☽ | 18 | ♂ | 18 | ☿ | 18 | ♃ | 18 | ♀ | 18 | ♄ | 18 | ☉ | 18 |
| ♄ | 19 | ⊙ | 19 | ☽ | 19 | ♂ | 19 | ☿ | 19 | ♃ | 19 | * | 19 |
| ♃ | 20 | ♀ | 20 | ♄ | 20 | ⊙ | 20 | ☽ | 20 | ♂ | 20 | ☿ | 20 |
| ♂ | 21 | ☿ | 21 | ♃ | 21 | ♀ | 21 | ♀ | 21 | ⊙ | 21 | ☽ | 21 |
| ☉ | 22 | ☽ | 22 | ♂ | 22 | ☿ | 22 | ♃ | 22 | ♀ | 22 | ♄ | 22 |
| ♀ | 23 | ♄ | 23 | ⊙ | 23 | ☽ | 23 | ♂ | 23 | ☿ | 23 | ♃ | 23 |
| ☿ | 24 | ♃ | 24 | ♀ | 24 | ♄ | 24 | ☉ | 24 | ☽ | 24 | ♂ | 34 |

Y tabl sydd mor hawdd fel nad oes eisiau o ychydig eglurhad arno. Ei ddefnydd ydyw, c pa blaned sydd yn rheoli unrhyw awr yn y dyd bob dydd o'r wythnos. Gan roddi esiampl, yr y wyf yn deisyf gwybod pa blaned sydd yn rheoli dy Mercher, saith o'r gloch y nos; o dan yr enw dy Mercher, edrycher am 19, yr hyn sy'n ateb i sai

o'r gloch y nos, canys y dydd naturiol sydd yn cynnwys 24 awr, yn dechreu ar ol haner nos, felly y mae oddiwrth 12 ganol dydd, a dechreuwch gyfrif 13, 14, 15, &c., a chwi a gewch weled mai y 19 awr o haner nos sydd yn ateb i saith o'r gloch y nos, a chyferbyn â hyn chwi a gewch ♂ yr hyn sydd yn dangos hon i fod yn awr i Mars. Ac os mynwch wybod pa blaned sydd yn rheoli ar saith yn y bore y dydd hwnw, chwi a gewch gyferbyn ♀ 7, yr hyn sydd yn dangos mai Venus sydd yn rheoli yr awr hono; ac felly am unrhyw awr arall yn y dydd.

Wrth y rheol a ddangoswyd yn y tabl hwn, gellwch dori pob deilen yn yr awr ag y byddo ei phlaned ei hun yn rheoli arni, fel ag y gwelwch fod y Sun, sef yr Haul, yn rheoli ar yr awr gyntaf ddydd Sul, ac felly yn y blaen; gwelwch fod y planedau yn newid bob awr, am y 24: ac felly geill pob dyn sydd yn meddiannu deall naturiol ddeall y tabl hwn fel ag y rhag-ddywedwyd fod y

Sun ☉ yn rheoli ar ddydd Sul,
Ar ddydd Llun y ☽
Ar ddydd Mawrth, Mars ♂
Ar ddydd Mercher, Mercury ☿
Ar ddydd Iau, Jupiter ♃
Ar ddydd Gwener, Venus ♀ neu *
Ar ddydd Sadwrn, Saturn ♄

Dyma i chwi ddangosiad o'r planedau sydd yn rheoli yr awr gyntaf am bob dydd yn yr wythnos, a gwelwch wrth y tabl, mai yr un reol sydd am y pedair awr ar hugain, ïe am yr wythnos, ond eu bod yn newid bob awr.

Ond rhag eich gwangaloni, gellwch benderfynu fod yr holl lysiau a enwyd yn y llyfr hwn, yn

gyfaddas feddyginiaeth i'r amrywiol ddoluriau a enwyd yn y llyfr hwn, yn dufewnol ac yn allanol, pa amser bynag y torir hwy,—ond eu bod yn llawer mwy rhinweddol at feddyginiaeth y clwyf yn dufewnol ac yn allanol, os torir hwynt ar yr awr ag y byddo y Blaned yn rheoli arnynt.

---

*Y ffordd i wneuthur Powltis at gasglu yr afiechyd i'r un man, fel ag y gellir ei dori a'i sugno allan.*

Had llin, had fenigreek, a'u malu, a'u berwi ynghyd, a'u tewychu â blawd brag, a rhoddi ynddo saim gwyn, neu sweet oil.

---

*Un arall i'r un dyben.*

Cymerwch ddail lili gwedi eu rhostio, a'u curo ynghyd â bloneg.

---

*Un arall.*

Cymerwch ddail neu wraidd rhocos, wedi eu berwi a'u tewychu â blawd brag, a rhoddwch ynddo saim i'w ystwytho.

*I dori chwydd coch yn fuan.*

Cymerwch ddail bysedd cochion, a dail duon da, a dail pen felen, a'u curo ynghyd, a'u berwi a'u tewychu â blawd ceirch, a'i ystwytho â sweet oil, a'i roi ar y dolur, gan ei newid bob dydd.

---

*Y ffordd i wneuthur Eli da i lanhau hen friwiau drewedig.*

Cymerwch verdigras wedi ei bowdro, haner wns, mêl, chwech wns, vinegr, tair wns, a berwch yn-

ghyd hyd nes y tewycho, a throi yn lliw coch; a defnyddiwch ef mewn hen friwiau i'w glanhau.

---

*Cyfarwyddyd i ddefnyddio amrywiol Oilion i esmwythhau poen.*

Oil of sweet almonds, linseed oil, oil of St. John's wort, oil of earth-worms, oil of elder, oil of turpentine, oil of amber, oil of swallows, oil of bricks, saim gŵydd, saim iâr, saim cŵn, gwedi eu berwi, a hel y saim, camomile, ffenigreek seeds, a dail cwrw. Gan fod yr oilion a enwyd yn adnabyddus i'r wlad yn gyffredin, y maent i'w cael gan y rhai sydd yn gwerthu drugs, wrth yr enw a roddwyd arnynt yma; ac os bydd rhyw ran o'r aelodau yn boenus trwy oerfel, cymerwch ryw un o'r rhai a enwyd, neu cymysgwch amrywiol o honynt yn nghyd, a defnyddiwch o flaen y tân, a lapiwch â gwlanen gynes; ond na ddefnyddiwch y pethau a enwyd uchod, os bydd y dolur yn wresog yn ei natur.

---

*I stopio chŵydd mewn bron.*

Cymerwch faip gwedi eu rhostio a chnociwch, a rhoddwch ynddo oil rhosus, a newidiwch bob dydd, a golchwch y fron bob tro y newidiwch y powltis â chamomile a dail rhoccos wedi eu berwi yn nghyd, mor boeth ag y gellir ei oddef, hyn sydd yn dda i chwalu chwarenau.

---

*Rhag y Clefyd melyn.*

Cymerwch ddwy bilsen yn y nos, o casteel soap a saffrwn, hyd nes y byddoch yn iach, a chadwch oddiwrth ddiod frâg a llaeth wrth ei gymeryd, ac iach a fyddwch.

*I stopio gwaed mewn briwiau.*

Cymerwch ddail poethion, a chnociwch, a rhoddwch ar y lle; neu cymerwch bolarmoniac a thaflwch i'r briw; neu cymerwch dragon's blood, a rhoddwch yn y briw; neu cymerwch rosemary, a dodwch yn y dolur, neu blisg wyau, wedi eu gwneud yn llwch; neu litharge, neu frankinsense, mastic, neu gobweb, hyny yw, gwe y pryf copyn. Y mae y powdr a enwyd i'w gael yn y siop, rhyw un o honynt a wna y tro, ond ei falu, a'i roi yn y dolur.

---

*Un arall i'r un dyben.*

Cymerwch frankinsense un dram, aloes haner dram, wedi eu malu, cymysgwch yn nghyd, a phan y bo angen am dano, cymerwch wnionyn a churwch ef yn dda, yna cymysgwch y pethau a enwyd uchod at dewder mêl, a gwlychwch gudyn o flew ysgyfarnog ynddo, a rhoddwch yn y briw, a gadewch ef yno hyd nes y mendio, ac fe a ollynga ei afael ei hun; mae hyn o gyngor yn fwy ei werth na phris y llyfr hwn i gyd, gellwch ei wneud i fynu â gwerth dwy geiniog yn y siop.

---

*Cyngor i lanhau briwiau oddiwrth gig marw.*

Mi a enwaf amrywiol o'r pethau goreu i'r pwrpas hwn, ac yna gellwch gymeryd eich dewis o honynt, caustic, verdigrease, copperas, vitriol, hyny yw, y gareg las, alum wedi ei losgi, antimony, mercury, sublimate, precipitate, cymerwch eich dewis un o honynt at yr achos hwn.

*Rhag y Cryd cymalau poeth, pan ag y byddoch yn methu gorwedd yn y gwely.*

Cymerwch hemlock, sef y cegyd mân sydd yn tyfu hyd y cloddiau, a lettice, sydd yn tyfu yn y gerddi, a berwch yn nghyd mewn dwfr, a golchwch y lle poenus âg ef yn fynych, wrth fyn'd i'ch gwely. Ac os dewiswch yn well, gellwch chwanegu atynt ddail paladr y wal, a dail rhosus cochion, a'u gwneud yn bowltis a'i roi ar y lle, gan ei newid bob dydd.

---

*Basilicon, Eli i lanhau briwiau.*

Y ffordd i wneud yr eli. Cymerwch gŵyr melyn ac ystor, a Greek pitch, o bob un, pedair wns, ac o oil cyffredin, pedair wns a haner, a'u cymysgu yn nghyd trwy eu toddi yn raddol. Y mae yr eli hwn yn glanhau pob math o friwiau, ac yn eu hesmwythau.

---

*Eli at friwiau a thyllau drewedig yn y cocsau.*

Cymerwch gum elemy, turpentine, o bob un wns a haner, gwêr dafad, ddwy wns, a bloneg mochyn, un wns, a'u toddi yn raddol ar dân araf. Y mae hwn yn eli da rhagorol, ond na ddefnyddiwch mewn un math o friwiau os byddant ar y gewynau.

---

*Eli i groeni briwiau.*

Cymerwch oil of roses, chwarter pwys, cŵyr gwyn, tair wns, bolarmoniac, haner wns, litharge of gold, un wns, camphor, haner dram, yr hyn sydd i'w toddi a'u cymysgu, a'u gwneuthur yn eli, a'i gymeryd i groeni ac i sychu briwiau.

### *Plastr i gryfhau ystumog.*

Cymerwch mastich, un wns, bolarmoniac, chwe' dram, dail rhoses cochion, chwarter wns, cŵyr melyn un wns, oil un wns, a'i wneud yn blastr, a'i roddi ar y frest, wedi ei daenu ar ledr.

---

### *Un arall i'r un dyben.*

Cymerwch fintys a wermod, a dail cwrw, o bob un ddram, dail rhoses cochion, dau ddram, a phupur hirion, un dram, mustick tri dram, ystor a chŵyr melyn, o bob un pedair wns, oil of spice, un dram, oil cyffredin, cymaint a'i gwna yn blastr.

---

Gan fod amrywiol enwau ar y llysiau, yn adnabyddus yn un wlad wrth un enw, ac mewn gwlad arall wrth enw arall, i'ch gwneud yn fwy adnabyddus o honynt, mi a enwaf yr enw Saesoneg yn gyntaf, ac amrywiol enwau Cymraeg ar eu hol, fel y canlyn:—

Arach-wild, troed yr ŵydd
Acrimony, llysiau'r dryw, troed y dryw
Adder's-tongue, tafod y neidr, dail pen y neidr
Angelica, llysiau'r ysgyfaint, llysiau'r angel
Ash-tree, onen
Arsmart, y ben boeth
Balm, bôm
Barberry, pren melyn
Bay-tree, y dail cwrw, pren y gerwin
Blue-bottles, pen galed, penlas yr yd
Briony, bloneg y ddaear, y winwydden wen
Burdock, cedor y wrach
Bugles, llysiau tafod yr oen
Bare-foot, chwys Mair
Broom, banadl
Buck's-horn, llwyn hidil, dail ceiliogod
Camomile, camamile
Celandine, llym y llygaid, llysiau'r wenol
Comfrey, llysiau y cwlwm
Carrots-wild, moron gwylltion
Crow-foot, crafangc y fran, chwys Mair

Dandelion, daint y llew, daint y ci
Dwarf-elder, ysgaw Mai
Dove's-foot, y droed goch, troed y golomen
Daisies, llygaid y dydd, yr asgen
Eringo, môr gelyn, celyn y môr
Eye-bright, y dorfagl, effros, llygaid siriol, llygaid Crist
Elicampane, marchalarch
Fern, rhedyn, rhedyn y dwfr, rhedyn gyfyrdwyf
Fennel, ffanigl, ffunel
Fox-glove, menyg y llwynog, dail bysedd cochion, dail crach
Fumitory, mwsog y ddaear
Golden-rod, y wialen auraidd
Ground-ivy, eiddaw y ddaear, dail Robin, dail eidrol, llysiau'r esgyrn
Groundsel, y ben felen fanyw
Hemlock, math o gegid mân yn tyfu hyd ochrau y cloddiau, cegid gwynion
Helebore, tafol y môr, troed yr arth, crafangc yr arth
Hysop, dail cyffredin yn y gerddi
Hops, yr hwn a roddir mewn cwrw
Horehound, roround, y maent i'w cael yn y gerddi wrth bob un o'r ddau enw
Houseleek, llysiau pen tai
Honey-suckles, dail gwinwydd, lili y dyffryn
Honey-thistle, ygall bendigaid, cribau Mair
Hawthorn, y ddraenen wen
St. John's-wort, y gantwll, nail
Ivy, eiddaw
White-lillies, lili'r gerddi
Maiden-hair, gwallt y forwyn
Mallows, dail y rhocos, hocys
Marygold, gold Mair
Mint, mintys y gerddi
Mother-wort, Llysiau'r fam
Mouse-ear, clust y llygoden
Mug-wort, llysiau Ifan, llysiau llwydion
Mulberry
Mullein, surcyn y melinydd
Mustard, mwstard
Mosses, mwsogl, migwyn
Nettles, dail poethion, danadl poethion
Oak, derwen
Onions, winwyns
Parsley, persli
Peony, blodau y brenin
Pelitory of the wall, paladr y wàl, paradlys
Pile-wort, dail peils, llygaid Ebrill
Polypody of the oak, math o redyn sydd yn tyfu ar dderw
Queen of the meadow, brenhines y weirglodd
Red-roses, rhosus cochion
Rosemary, rhos Mair
Rue, rhyw y gerddi
Sage, saeds, y fedwen chwerw
Sage-wild, saeds gwylltion, chwerwlys yr eithin
Solomon's-seal, y maent i'w cael yn y gerddi yn gyffredin
Sanicle, clust yr arth
Strawberries, mefus
Scurvy-grass, dail ysgyrfi
Shepherd's purse, pwrs y bugail
Sorrel, surans y cwn
Woood-sorrel, surens y gôg, surens tair dalen
Tansy, y maent i'w cael yn gyffredin yn y gerddi wrth yr euw hwn
Savine, ffenigl
Smallage, clo cylor, cnau y ddaear

Selfheal
Service-tree, pren criafol
Wild-tansy, y dansi wyllt, y dinlwyd
Thyme, teim y gerddi
Wild-thyme, teim gwylltion
Tormentile, treiagl y moch, dail gwylltion sydd yn tyfu ar ochr pob clawdd o'r bron
Vervain, llysiau yr hudol
Willow-tree, helyg y gwinllanoedd
Womwood, chwerwlys

---

## CYNWYSIAD Y RHAN GYNTAF.

## CYNWYSIAD YR AIL RAN.

## CYNWYSIAD Y DRYDEDD RAN.



LLANRWST; ARGRAFFWYD GAN JOHN JONES.

## Llyfrau ar werth gan J. Jones, Argraffydd, Llanrwst.

| | | |
|---|---|---|
| Anianydd Cristionogol gan Dr. Dick, mewn byrddau | 6 | 0 |
| Anianyddiaeth y sefyllfa ddyfodol, gan yr un | 4 | 0 |
| Athrawiaeth y ddau gyfamod, gan J. Bunyan | 2 | 0 |
| Aleluia, Hymnau gan J.R.Jones, | 1 | 0 |
| Ariangarwch | 1 | 0 |
| Aberth cymeradwy, gan Bunyan | 1 | 0 |
| American, gan B. Chidlaw | 0 | 6 |
| Awengerdd Peris, Barddoniaeth, gan Gwilym Peris | 1 | 0 |
| Addysgydd i ddarllen Cymraeg | 0 | 1 |
| Awen Lawen | 0 | 6 |
| Addysg i'r rhai bach | 0 | 1 |
| Balm y cyfamod, gan Flavel | 0 | 6 |
| Bardd Cwsg | 1 | 0 |
| Barddoniaeth Gutyn Padarn. | 3 | 6 |
| Banau y byd, gan T. Edwards | 0 | 6 |
| Biblau amryw brisiau | | |
| Blodau y Gân | 1 | 0 |
| Blwch Caniadau | 0 | 6 |
| Blwch o Beriau | 0 | 3 |
| Bywyd Buonaparte | 0 | 6 |
| Bywyd Howel Harris | 1 | 0 |
| Bywyd Daniel Rowlands | 2 | 6 |
| Bywyd Dic Aberdaron | 0 | 6 |
| Bywyd T. Edwards, Nant | 0 | 3 |
| Bwrdd y Bardd, gan H. Tegai | 1 | 0 |
| Bywyd R. Jones, Rhoslan | 0 | 6 |
| Bywyd Whitfield | 0 | 6 |
| Corph y Gaingc, gan D. Ddu, Eryri | 5 | 0 |
| Caniadau byrion, gan y Parch S. Roberts, Llanbrynmair | 0 | 6 |
| Cribddeiliaeth, gan W. Caledfryn | 0 | 6 |
| Crist Datguddiedig | 2 | 6 |
| Cogydd Cymreig | 1 | 0 |
| Cyfaill y Cywrain | 1 | 0 |
| Cyfoeth a thlodi, gan T. E. Nant | 0 | 6 |
| Cristion y Bibl | 0 | 2 |
| Cawell y Bara croyw | 1 | 0 |
| Crist yn esiampl i'w eglwys | 0 | 6 |
| Catechism J.Colquohoun, D. D. | 0 | 6 |
| Corphyddiaeth | 0 | 4 |
| Corph Duwinyddiaeth, gan A. S. Patterson, M. A. | 3 | 6 |
| Cymdeithas Gristionogol | 2 | 0 |
| Cronfa Awen | 0 | 6 |
| Cystrawiaeth yr Iaith Gymraeg | 0 | 6 |
| Cyfarwyddwr Priodas | 0 | 6 |
| Cyfrifydd parod | 1 | 0 |
| Cyfiawnhad, gan Dr. Owen | 2 | 0 |
| Eto gan J. Elias | 1 | 0 |
| Daioni a thoster Duw, gan Dr. Owen | 1 | 0 |
| Defodau Dwyreiniol | 5 | 0 |
| Dinystr Jerusalem | 3 | 0 |
| Drych Barddonol gan W. Caledfryn | 3 | 0 |
| Drych Dwfr y Cleifion | 0 | 3 |
| Drych y Ddaear a'r Ffurfafen | 3 | 0 |
| Drych yr Amseroedd gan R. Jones, Rhoslan | 2 | 0 |
| Drych y Merthyron | 4 | 0 |
| Difyrwch bechgyn Glanau Conwy | 0 | 6 |
| Deongliad Breuddwydion 2d. a | 0 | 6 |
| Dyferyn dewisol o Fêl o'r Graig Crist | 0 | 3 |
| Daearyddiaeth ysgrythyrol, gan Brutus | 0 | 6 |
| Dyddlyfr Cristionogol | 2 | 6 |
| Drych y bydoedd | 0 | 3 |

| | | |
|---|---|---|
| Esboniad Hanesiol ar y Testament Newydd | 2 | 6 |
| Eos Gwynedd, gan J. Thomas, | 1 | 6 |
| Egwyddor Peroriaeth, gan H. E. | 1 | 0 |
| Y Fwyalchen | 0 | 6 |
| Y Farddoneg Fabilonaidd, gan T. E. Nant | 0 | 6 |
| Gardd o Gerddi gan T. E., Nant. | 1 | 0 |
| Gramadeg Cymraeg, gan J. Parry | 1 | 0 |
| Gweledigaethau Nef ac Uffern, gan J. Bunyan | 1 | 0 |
| Geirlyfr yr Ysgol Sabbothol | 0 | 3 |
| Geirlyfr Cymraeg a Saesneg gan y Parch. E. Griffiths | 5 | 0 |
| Geirlyfr Cymraeg a Saes'neg, gan Ellis Jones | 5 | 0 |
| Geirlyfr Saesneg a Chymraeg, gan I. D. Ffraid | 5 | 0 |
| Gair o'r Gair, gan Morgan Llwyd | 0 | 6 |
| Hyfforddwr yr Ymfudwr yn nghylch Wisconsin | 0 | 6 |
| Hyfforddwr, gan y Parch T. Charles | 0 | 4 |
| Hanes Judas Iscariot | 0 | 2 |
| Hanes yr Oferddyn | 0 | 0 |
| Iawn Crist, gan Jenkyn | 4 | 0 |
| Llythyrydd Dwyieithawg | 1 | 0 |
| Etto | 1 | 0 |
| Lloches Mwyneidd-dra, gan A. R. | 1 | 0 |
| Llais Awen | 1 | 0 |
| Mynegeir, gan y Parch P. Williams | 5 | 0 |
| Meddyg Anifeiliaid, gan David Evans, Llandyssul | 0 | 6 |
| Mer Awen, sef Carolau a Cherddi | 1 | 0 |
| Manna bob dydd | 0 | 2 |
| Moliant o enau plant | 1 | 0 |
| Myfyrdod mewn Mynwent | 0 | 2 |
| Yr Oracle | 0 | 6 |
| Prydnawngwaith y Cymry | 2 | 0 |
| Pregethau Finney | 2 | 0 |
| Priodas ysbrydol gan J. Bunyan | 0 | 6 |
| Pwyllwyddoriaeth (*Phrenology*) | 0 | 4 |
| Pharmacopeia, (Meddyginiaeth) | 0 | 6 |
| Y Pregethwr a'r Gwrandawr | 2 | 6 |
| Pedair colofn gwladwriaeth gan T. E. Nant | 0 | 6 |
| Pregethau y Parch D. Charles | 5 | 0 |
| Pregethau Seryddol Dr. Chalmers | 2 | 6 |
| Pedwar Cyflwr dyn | 5 | 0 |
| Palestina | 0 | 6 |
| Pererindod ysbrydol gan J.Bunyan | 0 | 8 |
| Rhetoreg, gan W. Salisbury | 1 | 0 |
| Rhosyn Saron, gan A. Shadrack | 0 | 2 |
| Rhedegwr ysprydol, gan J.Bunyan | 0 | 6 |
| Rhodd Mam i'w phlentyn | 0 | 1 |
| Sillydd Cymreig, Etto | 0 | 4 |
| Testamentau Cymraeg a Saesneg, amrywiol brisiau | | |
| Telyn Arian, gan J. Thomas | 1 | 0 |
| Telyn Aur (Hymnau) | 0 | 6 |
| Tlysau Aur, gan A. Shadrack | 0 | 6 |
| Bywyd Turpin Leidr | 0 | 6 |
| Tyred a chroesaw at Iesu Grist | 1 | 6 |
| Tri chryfion byd, gan T. E. Nant | 0 | 6 |
| Trysorfa yr Athrawon, rhwym | 2 | 0 |
| Do. mewn lliain | 1 | 6 |
| Taith y Pererin | 3 | 0 |
| Thirza, sef Troedigaeth Iuddewes | 0 | 6 |
| Y Wenynen bach | 0 | 6 |
| Y Gôg | 0 | 6 |
| Ymddangosiad Ysprydion drwg | 0 | 2 |